Pob llais diwael yn ael nant,
A gan ef o gu nwyfiant.

Every masterly note; on the side of the brook, *he* doth sing from amorous love. *D. ab Gwilym, i'r fronfraith.*

Gyd ag ef y cartrefaf,
Nef yn ei gartref a gaf.

With *him* I will dwell, heaven in his dwelling I shall obtain. *L. G. Cothi.*

**Efa**, *v. a.* (ef) To cause motion; to agitate.
**Efain**, *v. a.* (ef) To move about; to be moving.
**Efan**, *s. m.* (ef) A motion; a course, a career.

Eryr Pengwern pengam llwyd,
Aruchel ei efan,
Eiddig am gig Cynddylan.

The eagle of Pengwern with the grey wry head, very high his *flight*, jealous for the flesh of Cynddylan. *Llywarch Hen.*

**Efe**, *pron.* (ef—e) He. *Efe a biau*, he doth own.

Efe a ennynai o'i chwant hi, canys mwy rhagorawl oedd hi nog y clywai efe son am dani gan y beirddorion.

*He* burnt with a desire to obtain her, for more excellent was she than the report *he* had heard of her from the bards. *Car. o Langarfan.*

**Efel**, *a.* (e—mal) That is like, or similar.
**Efelwch**, *s. m.* (efel) Similitude, or likeness.
**Efelychadwy**, *a.* (efelwch) Imitable; comparable.
**Efelychiad**, *s. m.—pl. t.* au (efelwch) Imitation.
**Efelychu**, *v. a.* (efelwch) To imitate, to do the like; to resemble.

Gwedi marw Elidyr War y doai Rhys fab Gorfynion yn frenin; a'i ewythr a efelychws ef o synwyr, a phrudd-der a doethineb.

After the death of Elidyr the mild, came Rhys the son of Gorfynion to be king; and *he resembled* his uncle in sense, and discretion, and wisdom. *Gr. ab Arthur.*

**Efelly**, *adv.* (efel) In that wise or form; so.

Ac fal yd oedd Arthur yn eu gwarchau efelly enychaf Gillamwri, brenin Ywerddon, yn dawed a llynges gantho, ac amlder o bobloedd anghyfiaith.

And as Arthur was besieging them *in that wise*, behold Gillamori, king of Ireland, coming, having a fleet with him, and a multitude of people of strange language. *Gr. ab Arthur.*

**Efengyl**, *s. f.—pl. t.* au (ef—eng—yl) What is spread abroad, manifested or declared; the gospel.

Da yw y maen gyd a'r efengyl.

The touchstone is good with the *gospel*. *Adage.*

**Efengylaidd**, *a.* (efengyl) Evangelical.
**Efengyles**, *s. f.—pl. t.* au (efengyl) A female preacher of good tidings.

Dring rhagot, yr efangyles Sion, i fynydd uchel; derchafa dy lef trwy nerth, O efangyles Ierusalem, derchafa; nag ofna!

O Zion, *that bringest good tidings*, get thee up into the high mountain; lift up thy voice with strength, O Jerusalem *that bringest good tidings* lift it up; be not afraid. *Isaiah* xl. 9.

**Efengylu**, *v. a.* (efengyl) To preach the gospel.
**Efengylwr**, *s. m.—pl.* efengylwyr (efengyl—gwr) An evangelist, or preacher of the gospel.
**Efengylydd**, *s. m.—pl. t.* ion (efengyl) An evangelist; one who brings good tidings.
**Efnys**, *s. pl. aggr.* (afn) That comes forward, or in opposition; foes, or enemies.

Brenin brwydr, efnys gwrys gwellyniawg,
Pen rhiau parau anoleithiawg.

King of conflict, the correction of the *foes*, chief of princes with spears not sparing of havoc. *Meilyr, i Gr. ab Cynan.*

Ni throes ei gefn ar efnys.

He turned not his back upon the *foe*. *I. ab H. Swrdwal.*

**Efo**, *pron.* (e—mo) He, or him. *Dos gyd ag efo*, go along with him.

A fyno efo a fydd yn ei fro,
A'r hyn a fyno na bo ni bydd.

What *he* willeth will be in his country, and what he willeth that it be not will not be. *L. G. Cothi.*

**Efo**, *conj.* (ef) With. *Dos efo fo*, go with him; *af efo ag ef*, I will go with him.
**Efory**, *s. m.* (mory) To-morrow. *adv.* To-morrow, or on the morrow.

**Efr**, *s. m.—pl. t.* au (ef) A tare, among corn.
**Efrad**, *s. m.* (brad) Crime, or transgression.
**Efrais**, *a.* (brais) Powerful of body; muscular.

Gwr efrais yn nhrais, yn nhrosedd;
Gwr afraid i farw-naid i fedd.

A man *powerful* in oppression, and in transgression; a man whose dying course to the grave was premature. *Cynddelw, m. O. Gwynedd.*

**Efras**, *s. m.* (bras) Plumpness or growth of youth.

Y dref wen yn mron y coed,
Ys ef yw i hefras erioed
Ar wyneb gwellt y gwaed.

The white town in the bosom of the wood, the blood of its *youth* at all times has been running over the grass. *Llywarch Hen.*

Y dref wen e hefras e glas fyfyr.

The white town its *youth* its blue sons of contemplation. *Llywarch Hen.*

**Efras**, *a.* (bras) Plump, in a state of growing.

Maenwyn, tra fum i efras,
Gwnawn weithred gwr tra byddwn gwas.

Maenwyn, whilst I was *young and sleek* I would perform the feats of a man whilst I was but a youth. *Llywarch Hen.*

Arddwyreaf glew, llew lluch efras.

I will extol the brave, the sprightly *young* lion. *Gwalchmai.*

**Efrefiad**, *s. m.* (brefiad) A lowing, a bleating.
**Efrefu**, *v. a.* (brefu) To low, or to bleat.
**Efrëu**, *v. a.* (brëu) To low, or to bleat; to cry.

Pan ymchoelwys
Nid efrewys buch wrth ei llo.

When he returned the cow *did* not *low* to her calf. *Taliesin.*

**Efrllid**, *s. m.—pl. t.* au (afr—llid) Merit.

Ebai Oswallt, plygwn ein gliniau, a gweddiwn—ein rhyddau y gan syberw lu y Prydeiniaid—Ac efelly pan ddoai y dydd y cyrchynt eu gelynion; a herwydd efrllid eu ffydd hwynt, a geffynt y fuddygoliaeth.

Oswallt said, let us bend our knees, and let us pray to be delivered from the haughty army of the Britons; and so when the day came they attacked their enemies; and because of the *merit* of their faith they obtained the victory. *Gr. ab Arthur.*

Mynych ydd ymladdynt a mi o'm ieuenctid, dyweded Israel yr awr hon yn eu hefrllid.

Many times have they fought against me from my youth, let Israel say at this hour in their *meritoriousness*. *D. Ddu, Ps.* cxxix. 1.

**Efryd**, *s. m.—pl. t.* iau (bryd) Study, meditation.
**Efrydiaw**, *v. a.* (efryd) To purpose; to study.

Ei saethau——
Selwodd, efrydiodd i'th frad,
Sel-ddig hir, salw duw cariad.

His arrows he pointed, *he meditated* treachery to me, with a long angry look, the puny god of love. *S. Tudur.*

**Efrydiawl**, *a.* (efryd) Studious; meditating.
**Efrydd**, *a.* (brydd) Maimed, lame; defective in any limb. *Efrydd gwyllt*, out of all order.

Aeth un yn rhydd, a'r llall yn efrydd yn y ffynon.

One became perfect, and the other *disabled* in the spring. *D. Jones, o Lanfair.*

**Efryddawl**, *a.* (efrydd) Tending to maim or hurt.
**Efryddiad**, *s. m.—pl. t.* au (efrydd) A maiming.
**Efryddlawn**, *a.* (efrydd) Full of maims or defects
**Efryddu**, *v. a.* (efrydd) To maim, to disable.

Henaint a ddaw fal hoenyn
A'i dwyll i efryddu dyn.

Old age will come like a snare with its deceit *to disable* man. *D. ab Gwilym.*

**Efwr**, *s. m.* (bwr) The cow-parsnep. It grows profusely about Dinevwr, where it is the name of the plant.

Melyn eithin, crin efwr.

The furze is yellow, the *cow-parsnep* is dry. *Llywarch Hen.*

Osglawg blaen derw, chwerw chwaeth on,
Cweg efwr, chwerthiniad ton:
Ni chel grudd cystudd calon.

Full of branches the top of the oak, bitter the taste of the ash, sweet the *cow-parsnep*, the wave is blustering: the cheek conceals not the affliction of the heart. *Llywarch Hen.*

**Efwrn**, *s. m.* (bwrn) A swell, or spreading out.

**Efydd**, *s. m.* (mydd) Copper; tempered copper.

> Ymofal am waew efydd,
> Am nad gwiw meinod y gwydd.
>
> Solicitous for a spear of *brass*, for it was of no moment how slender the wood. *Ieuan Deulwyn.*

**Efyddaid**, *a.* (efydd) Done with copper.

> Ffrwynau efyddaid, pedair ceiniawg a dal.
>
> Bridles *done with copper*, the value four-pence. *Welsh Laws.*

**Efyddaidd**, *a.* (efydd) Of the nature of copper.
**Efyddawg**, *a.* (efydd) Having copper, coppery.
**Efyddawl**, *a.* (efydd) Of copper, coppery; brassy.
**Efydden**, *s. f.—pl. t.* au (efydd) A copper pan.
**Efyddu**, *v. a.* (efydd) To do with copper.
**Efyddwaith**, *s. m.* (efydd—gwaith) Copper-work.
**Efyddyn**, *s. m.—pl. t.* au (efydd) A copper vessel.
**Efyntau**, *pron.* (ef—yntau) He also; and him.
**Efyrnig**, *s. f. dim.* (efwrn) A young goat, or that is with young the first time.

> Teithi efyrnig ceiniawg a dimai—canys hanner cerdded gafr yw yr eiddi.
>
> The qualities of the *yearling goat* are valued at one penny and halfpenny; for hers be half of that of the goat. *Welsh Laws.*

**Efyrllys**, *s. m.* (efwr—llys) Cow-parsnep.
**Effaith**, *s. f.—pl.* effeithiau (ffaith) An effect.
**Effeithiad**, *s. m.—pl. t.* au (effaith) Effectuation.
**Effeithiadwy**, *a.* (effeithiad) Effectible, or feasible
**Effeithiaw**, *v. a.* (effaith) To effect, to effectuate.
**Effeithiawl**, *a.* (effaith) Effectual, or efficient.
**Effeithiedig**, *a.* (effaith) Efficient, effectuated.
**Effeithiolaeth**, *s. m.* (effeithiawl) Effectuation.

> Pa beth a ddichon gynnal yr ysbryd, namyn anadl Duw, trwy ddylanwad gyson awl, ac effeithiolaeth ddibaid a bythawl!
>
> What is there that can support the spirit, except the breath of God, by an agreeable replenishing, and incessant and ever *effectuation!* *Ier. Owain.*

**Effeithioldeb**, *s. m.* (effeithiawl) Efficaciousness.
**Effeithioli**, *v. a.* (effeithiawl) To make effectual.
**Effeithiolrwydd**, *s. m.* (effeithiawl) Efficaciousness
**Effeithiwr**, *s. m.—pl.* effeithwyr (effaith—gwr) One who effects, or brings to pass.
**Efflan**, *a.* (plan) Splendid, bright, or glittering.
**Efflanawl**, *a.* (efflan) Resplendent, coruscant.
**Efflaniad**, *s. m.—pl. t.* au (efflan) A coruscation.
**Efflanu**, *v. a.* (efflan) To coruscate, to glitter.
**Efforth**, *s. m.—pl. t.* au (porth) An effort to aid.
**Efforthawl**, *a.* (efforth) Tending to help or aid.
**Efforthi**, *v. a.* (efforth) To make effort to aid.
**Efforthiad**, *s. m.—pl. t.* au (efforth) Exertion.
**Effraw**, *a.* (ffraw) In motion; awake, or wakeful.

> Newydd roi fy mhen i lawr: ac yn lled effraw, mi a glywn bwys mawr yn dawed arnaf yn lledradaidd.
>
> Having just laid my head down, and being partly *awake*, I could feel a great weight coming slily upon me. *Elis Wyn, B. Cwsg.*

**Effröad**, *s. m.* (effraw) A stirring about; a waking
**Effröi**, *v. a.* (effraw) To stir up; to awake.
**Effrom**, *a.* (ffrom) Swelling up; towering; stiff, sturdy; haughty, stubborn, pertinacious.
**Effros**, *s. pl. aggr.* (ffros) The herb eye-bright.
**EG**, *s. m. r.* What is open, plain, or clear; what is opened; what is discriminated; the quantity of land ploughed, or opened in a day; an acre.
**Egain**, *s. m.* (cain) That is splendid; a lord.
**Egalen**, *s. f.—pl. t.* au (galen) A whetstone.
**Egawr**, *v. a.* (eg) To open, to expand; to widen; to display.

> Gwell egawr no chynnwys.
>
> It is better *to open* than to contain. *Adage.*

**Egel**, *s. f.* (eg—el) The sow-bread.
**Egfaen**, *s. m.—pl.* egfain (eg—maen) The haw, or white-thorn berry.
**Egfaenrwydd**, *s. m.* (egfaen—gwydd) Hawthorn.
**Egin**, *s. pl. aggr.* (cin) A crop, or what covers the surface, the first shoots, or blades of vegetation.

> Ni chel dryg-dir ei egin.
>
> Bad land will not conceal its *vegetation.* *Adage.*

**Eginad**, *s. m.* (egin) Germination, springing.
**Eginaw**, *v. a.* (egin) To germinate, to spring, to sprout forth, or to shoot up.

> Ac un llygriad â hadyd
> Yw dynion beilchion y byd;
> A[illegible] gogoniant,
> Ys [illegible]th, drwy Grist a wnant.
>
> And of the same corruption as the seed corn are the proud men of the world; and if the soil is good, they will, through Christ, *shoot forth* glory. *T. Aled.*

**Eginawl**, *a.* (egin) Germinant, shooting, sprouting
**Eginyn**, *s. f. dim.* (egin) A germe, a sprout.
**Eglan**, *s. f.—pl. t.* oedd (eg—glan) An opening shore, or bank, a gulf.

> Addfwyn gaer y sydd yn yr eglan,
> Addfwyn y rhoddir i bawb ei ran.
>
> A pleasant fort there is in the *gulf*, there pleasantly is given to every one his share. *Taliesin.*

**Eglawg**, *a.* (eg—llawg) Widely gaping, yawning.

> Er yfais o win o gawg,
> Gan rian ryfel eglawg,
> Myrddin yw fy enw amhelawg.
>
> For what I have drank of wine from a goblet, from lords of *devouring* war, Myrddin is my prudent name. *Myrddin.*

**Eglur**, *a.* (eg—llur) Bright, clear, plain, visible.
**Eglurâad**, *s. m.* (eglur) Explanation, illustration.
**Eglurâawl**, *a.* (eglurâu) Exegetical, explanatory.
**Egluradwy**, *a.* (eglur) Demonstrable, explicable.
**Eglurain**, *a.* (eglur) Illustrious, conspicuous.
**Egluraint**, *s. m.* (eglurain) Illustriousness, glory.

> Meifod———
> A'i balch-lwys eglwys egluraint.
>
> Meivod with its proudly solemn temple of *splendour.* *Cynddelw.*

**Eglurâu**, *v. a.* (eglur) To make clear, or plain.
**Egluraw**, *v. a.* (eglur) To make clear, or apparent, to manifest, to discover, to explain.

> Morgan fab Arthal—o ddysg ei rieni a wnaeth iawnder, ac a eglurws genedl Prydain o weithredoedd da.
>
> Morgan the son of Arthal, from the instruction of his parents, did equity, and *he rendered conspicuous* the people of Britain for good actions. *Gr. ab Arthur.*

**Eglurawl**, *a.* (eglur) Explanatory, illustrative.
**Eglurdeb**, *s. m.* (eglur) Clearness, perspicuity.

> Tair colofn eglurdeb; y gair a fo raid, y maint a fo raid, ac y ddull a fo raid.
>
> The three bases of *perspicuity*; the word that is necessary, the quantum that is necessary, and the form that is necessary. *Barddas.*

**Egluredig**, *a.* (eglur) Exemplified, demonstrated.
**Egluriad**, *s. m.—pl. t.* au (eglur) Illustration, explanation, exemplification, manifestation.
**Egluriadawl**, *a.* (egluriad) Explanatory, demonstrative, exemplifying.
**Eglurwr**, *s. m.—pl.* eglurwyr (eglur—gwr) An illustrator, exemplifier, or explainer.
**Egluryn**, *s. m.* (eglur) An exemplar, an exemplifier; a manifesto.
**Eglwg**, *a.* (eg—llwg) Bright, clear, manifest.

> Llemais i lam o lam eglwg;
> Heusid da ui'r gno ddrwg;
> Mygedorth Rhun ys ef ddlwg.
>
> I have leaped a leap, a *clear* leap; good has been dispersed abroad if a person finds no evil; the funeral pile of Rhun it is an expiation. *Taliesin.*

**Eglwys**, *s. f.—pl. t.* au, i, ydd (eg—glwys) That is hallowed or sanctified; a church.
**Eglwys**, *a.* (glwys) Hallowed, solemn, fair.
**Eglwysaidd**, *a.* (eglwys) Of a hallowed nature; like the church; of the church.

**Eglwysaw**, *v. a.* (eglwys) To hallow, to sanctify, to purify; to church.

**Eglwysawl**, *a.* (eglwys) Tending to holiness; belonging to the church.

**Eglwysiad**, *s. m.* (eglwys) A hallowing; sanctification, or purification; a churching.

**Eglwysig**, *a.* (eglwys) Hallowed, sanctified; solemn; belonging to, or of, the church. *Gwr eglwysig*, a man of the church, a clergyman.

**Eglwyswr**, *s. m.—pl.* eglwyswyr (eglwys—gwr) A churchman, a church minister.

A iachawdwriaeth, medd Duw naf,
Y gwisgaf ei heglwyswr.

With salvation, saith God the Lord, I will clothe her *minister*. *E. Prys.*

**Eglyd**, *a.* (eg—glyd) Hovering over, wavering.

**Eglygder**, *s. m.* (eglwg) Brightness, clearness.

**Eglyn**, *s. m.* (eg—llyn) The golden saxifrage.

**Egni**, *s. m.—pl. t.* on (eg—gni) Strength, force, vigour, effort. *A'i holl egni*, with all his might.

Dwys gred, nid oes greadur——
Gymmaint a'th wnel yn elyn,
Egni dost, ag i gwna dyn!

Momentous the thought, there is not a creature that so greatly makes thee a foe as doth man, afflicting is the *impulse*. *Gr. Ll. ab D. ab Einion.*

**Egnïad**, *s. m.—pl. t.* au (egni) A making effort.

**Egnïaw**, *v. a.* (egni) To make an effort, to use exertion, to endeavour.

**Egnïawl**, *a.* (egni) Forcible, vigorous, impetuous.

**Egnïus**, *a.* (egni) Vehement, impetuous, forcible.

**Egnïwr**, *s. m.—pl.* egnïwyr (egni—gwr) One that makes an effort, or endeavour.

**Egored**, *a.* (egawr) Open, expanded, exposed.

Eild ci i gell egored.

Let the dog go to an *open* chamber. *Adage.*

**Egoredig**, *a.* (egawr) Opened, spread out, displayed.

**Egoredigaeth**, *s. m.* (egoredig) The act of opening

**Egori**, *v. a.* (egawr) To open, to disclose.

**Egoriad**, *s. m.—pl. t.* au (egawr) A making an aperture; an opening; a key.

**Egoriadawl**, *a.* (egoriad) Aperient, apt to open.

**Egorwr**, *s. m.—pl.* egorwyr (egawr—gwr) An opener, or one who opens.

**Egr**, *a.* (eg) Sharp, sour, tarting, biting, severe, poignant, eager.

Llyn gwin egr, llanw gwineugoch.

A puddle of *stale wine*, a flood of murky red. *D. ab Gwilym, i'r mawnbwll.*

**Egraidd**, *a.* (egr) Tending to be hard, or stale.

**Egrawl**, *a.* (egr) Tending to harden or make stale.

**Egredig**, *a.* (egr) That is hardened, or made stale.

**Egredd**, *s. m.* (egr) Hardness, flatness, staleness.

**Egri**, *s. m.* (egr) Hardness, staleness, sharpness.

**Egriad**, *s. m.* (egr) A making, or becoming stale.

**Egrifft**, *s. m.* (eg—grifft) The spawn of frogs; a tadpole; also a fabulous animal the griffon.

**Egroes**, *s. pl. aggr.* (egr) Hips, or berries of the dog-rose; called also *Aeron mieri Mair*.

**Egroeswydd**, *s. m.* (egroes—gwydd) The dog-rose.

Minnau wiaf, o byddaf hen,
Dy groesi, bryd egroesen.

And I will cross thee, if I shall be old, thou of the hue of the *eglantine berry*. *D. ab Gwilym, i'r carw.*

**Egrwydd**, *s. m.* (egr) Sourness, sharpness, acidity.

**Egru**, *v. n.* (egr) To become sharp, sour, or stale; to turn to acid. *Diawd wedi egru*, stale drink

**Egryd**, *s. m.* (cryd) Tremulation. *a.* Trembling.

**Egrygi**, *s. m.* (crygi) Hoarseness, roughness.

Archaf ym Arglwydd culwydd celi,
Nid ef a archaf arch egrygi.

I will intreat of my Lord, the love-prospering mysterious one, I will not crave of him a petition of *roughness*. *Ein. ab Gwalchmai.*

Gwelais feirdd yn gryg, nid egrygi,
Gal flawdd, yn adrawdd dy wrhydri.

I have seen a throng of bards, not with the roughness of the hostile shout, recounting thy gallantry. *Ll. P. Moch, bygwth D. ab Owain.*

**Egryn**, *s. m.* (cryn) Fear, trembling. *a.* Trembling

**Egrynedig**, *a.* (egryn) Trembling. *Egrynedigion gamau*, trembling steps.

**Egwal**, *s. m.—pl. t.* au (gwal) A cot, or hut.

**Egwan**, *a.* (gwan) Feeble, drooping, or flagging.

Rhon' iddo——
Wilogod sy'n wael egwan.

They will give to him, jades that are poor and *flagging*. *T. Prys.*

Un wedd egwàn, un ddygwydd,
Ydyw gwr a blodau gwydd.

Of the same *feeble* appearance, of the same end, is man as the blossoms of trees. *Ifan Llwyd Sieffre.*

**Egwanaeth**, *s. m.* (egwan) Feebleness, imbecility.

Gwyn eu byd, bellach darfu'r achwyn,
A phob egwanaeth, a phob gwenwyn!

Happy their state, at length complaining is ended, and every *frailty*, and every malevolence. *Llywelyn, o Langewydd.*

**Egwander**, *s. m.* (egwan) Feebleness, or debility.

**Egweddi**, *s. m.—pl. t.* au (gweddi) A portion, a dowery, what is given by the husband for a wife, a settlement, or jointure.

Egweddi yw y da a roddo gwr i'r wraig y bore cyn cyfodi o'i gwely.

The *jointure* is the goods which the husband shall give to the wife the morning before rising from her bed. *Welsh Laws.*

Os gwr a gwraig a ysgarant cyn pen y saith mlynedd, taler iddi ei hegweddi, a'i hargyfrau, a'i chowyll, os yn forwyn y daeth; ond os cyn y saith mlynedd yr ymad hi a'i gwr, hi a gyll y cwbl ond ei chowyll.

If a man and woman shall separate before the end of seven years, let there be restored to her her *portion*, and her paraphernalia, and her maiden fee if she came a virgin; but if before the end of seven years she shall part from her husband, she shall lose the whole except her maiden fee. *Welsh Laws.*

A thranoeth y bore ydd erchis y forwyn ei hegweddi, am ei chaffael yn wyryf.

And the next day morning the maid demanded her *jointure* for finding her a virgin. *Br. M. Wledig—Mabinogion.*

**Egweddïawl**, *a.* (egweddi) Relating to a jointure.

**Egwy**, *s. m.* (eg—gwy) Watery eruption; a plague.

**Egwya**, *v. a.* (egwy) To break out in blotches.

**Egwyd**, *s. m.—pl. t.* ydd (eg—gwyd) The small of the leg, the fetlock.

Milgi gwiw rhwng rhiw a rhyd,
Main egwyd-isel, min gwaedlyd.

A greyhound that is masterly between the ascent and the ford, with a small low *fetlock*, and bloody lip. *H. ab Reinallt.*

**Egwydled**, *s. m.* (egwyd—lled) The small of the leg.

**Egwyddawr**, *s. f.—pl.* egwyddorion (eg—gwyddawr) A first principle, a rudiment; an alphabet. *Egwyddorion crefydd*, the first principles of religion.

**Egwyddorawl**, *a.* (egwyddawr) Elementary, elemental; initiating; intuitive; alphabetical.

**Egwyddoredig**, *a.* (egwyddawr) Grounded upon rudiments; initiated, instructed in the alphabet

**Egwyddori**, *v. a.* (egwyddawr) To instruct in rudiments, or elements; to initiate.

**Egwyddoriad**, *s. m.—pl. t.* au (egwyddawr) The initiating in rudiments; initiation.

**Egwyddorig**, *a.* (egwyddawr) Having rudiments, or elements; grounded upon an alphabet. *s. c.* A learner of the alphabet, an Abecedarian.

**Egwyl**, *s. m.—pl. t.* ion (e—gwyl) Convenience, fit time, opportunity. *Egwyl dda*, a good season.

**Egyllt**, *s. m.* (eg) The herb crowfoot.
**Egyr**, *s. m.* (eg) An acre; also called *erw*.
**Ehagr**, *a.* (hagr) Ugly, unsightly, deformed.
**Ehagrawl**, *a.* (ehagr) Tending to render ugly.
**Ehagriad**, *s. m.* (ehagr) A making unsightly.
**Ehagru**, *v. a.* (ehagr) To make ugly, to deform.
**Ehagrwch**, *s. m.* (ehagr) Ugliness, unsightliness.
**Ehed**, *s. f.—pl. t.* ion (hed) A flight. *a.* Flying. *Maen ehed*, neu *ehedfaen*, a loadstone.
**Ehed**, *v. a.* (hed) To fly. *Ehed fry*, fly upward.

Mygedawg farchawg feirch yn ehed.

An honourable rider of steeds *a flying*. *Cynddelw.*

**Ehedawg**, *a.* (ehed) Having flight; flying.
**Ehedawl**, *a.* (ehed) Relating to flight; flying.
**Ehedbysg**, *s. pl. aggr.* (ehed—pysg) Flying-fish.
**Ehedeg**, *v. a.* (ehed) To fly. *Ehedeg trwy yr awyr*, to fly through the air.
**Ehedfaen**, *s. m.—pl.* ehedfain (ehed—maen) A loadstone, or magnet.

Llawn o hud llun ehedfaen,——
Yw'r drych.

Full of deception, of the form of a *magnet*, is the mirror. *D. ab Gwilym.*

**Ehedfan**, *v. a.* (ehed) To fly about, to hover.
**Ehediad**, *s. m.—pl. t.* au (ehed) A flying, a flight,
**Ehediad**, *s. m.—pl.* ehediaid (ehed) What flies.

Llywodraeth dyn—holl dda maes,
A'r adar llaes eu hesgyll,
Ehediad nef, a'r pysg o'r dòn
Sy'n tramwy'r eigion erchyll.

Under the dominion of man are all the beasts of the field; and birds of extending wings; the *flight* of heaven, and the fish of the wave that travel the awful ocean. *E. Prys.*

**Ehedion**, *s. pl. aggr.* (ehed) The refuse of corn.
**Ehedwr**, *s. m.—pl.* ehedwyr (ehed—gwr) A man that flies, a flyer.
**Ehedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (ehed) A flyer; the lark. *Ehedydd y coed*, neu *esgudogyll*, a wood-lark; *ehedydd coch*, red-lark; *ehedydd cribawg*, neu *gwich*, grasshopper-lark; *ehedydd yr helyg*, willow-lark; *coeg ehedydd*, neu *còr ehedydd*, titlark.
**Ehedyn**, *s. m. dim.* (ehed) A winged creature.

Ehedaist, mor hy ydwyd,
Hyd y nef, ehedyn wyd.

Thou hast flown, so daring thou art, up to heaven, thou art a *flyer*. *Iolo Goch, i Edward III.*

**Ehegr**, *s. m.—pl. t.* on (hegr) The staggers.

Ni phella'r ehegr neb tlawd.

*Precipitation* will not drive any poor one far. *Adage.*

A dan dri haint y dylyir bod am deithi march; rhag yr ehegr, dri gwlith; rhag yr ysgyfaint, dair lloer; rhag y llynmeirch, flwyddyn

Against three diseases there ought to be warranted the qualities of a horse; against the *staggers*, three dews; against the glanders, three moons; and against the spavin, a year. *Welsh Laws.*

**Ehegrawl**, *a.* (ehegr) Tending to be swift.
**Ehegriad**, *s. m.* (ehegr) A becoming quick.
**Ehegru**, *v. a.* (ehegr) To go rapidly or wildly.
**Ehegyr**, *a.* (hegyr) Swift, speedy; abrupt; wild. *adv.* Quickly, forthwith.

Aer gyntaid cyrchiad coch eu bongyr,
Trais erwyr yn ffwyr ffaw ehegyr.

The first ones in the onset of slaughter with reddened spears, of darting violence in the pursuit of rapid course. *O. Cyfeiliawg.*

Ni wyddost pa bryd y bydd hyny, ai yn hwyr ai yn ehegr.

Thou knowest not what time that will be, whether late or *speedily*. *Ll. G. Hergest.*

**Ehelaeth**, *a.* (helaeth) Extensive; expansive; spacious, large, wide; abundant.

Ni baidd llwfr llaw ehelaeth.

The coward will not dare the *extended* hand. *Adage.*

**Ehelaethawl**, *a.* (ehelaeth) Tending to amplify.
**Ehelaethiad**, *s. m.* (ehelaeth) A making spacious.
**Ehelaethrwydd**, *s. m.* (ehelaeth) Spaciousness.
**Ehelaethu**, *v. a.* (ehelaeth) To amplify, to enlarge.
**Ehelaethwr**, *s. m.—pl.* ehelaethwyr (ehelaeth—gwr) An amplifier, or enlarger.
**Ehöeg**, *s. m.* (höeg) Green colour. *a.* Green.

Nid ymddug ddillad, na glas, na gawr,
Na choch, nag ehöeg——

He will not bear cloaths, nor of blue, nor brown, nor red, nor *green*. *Taliesin.*

Addwyn grug pan fo ehöeg,
Arall addwyn morfa i wartheg.

Pleasant is the heath when it is *green*, again pleasant is the sea beach for cattle. *Taliesin.*

**Ehofn**, *a.* (hofn) Daring, gallant, intrepid.

Mynaw ehofn colofn cyfwyrain;
Mir meddgyrn mychedyrn Mechain.

A *gallant* person like a towering column; fair the mead-horns of the potent prince of Mechain. *Cynddelw, i O. Cyfeiliawg.*

Ef yw'r ehofnaf o'r gwyr ehofnion.

He is the *most gallant* of the *gallant ones*. *Einion Offeiriad.*

**Ehofnawl**, *a.* (ehofn) Intrepid, daring, bold.
**Ehofnder**, *s. m.* (ehofn) Intrepidity, boldness.
**Ehofnedd**, *s. m.* (ehofn) Intrepidity, prowess.
**Ehofni**, *v. a.* (ehofn) To act daringly; to be bold.
**Ehorth**, *a.* (horth) Diligent, assiduous, attentive.
**Ehorthedd**, *s. m.* (ehorth) Diligence, assiduity.
**Ehud**, *a.* (hud) Easy to be deceived, rash, unadvised, foolhardy; heedless.

Buan barn pob ehud.

The judgement of every one *rash* is hasty. *Adage.*

Anwadal ehud.

The heedless is inconstant. *Adage.*

**Ehudrwydd**, *s. m.* (ehud) Rashness, heedlessness.
**Ehydr**, *a.* (hydr) Magnanimous, brave, great.
**Ehydriad**, *s. m.* (ehydr) A making, or becoming great, grand, or magnanimous.
**Ei**, *pron.* (e) His, her, its. It strictly implies possession by the third person without denoting the gender, which is shewn by form of construction. *Ei dad*, his father; *ei thad*, her father.

Deubarth cerdd ei gwrandaw.

Two parts of a song the hearing *it*. *Adage.*

Cas dyn a fygythio bawb, ac ni bo ar neb ei ofn.

Odious is the person that threatens every body, and whom no body is under *his* dread. *Adage.*

**Eich**, *pron.* (ach) Your; you. *Eich lle*, your place; *eich dau*, you two, *m.* *eich dwy*, you two, *f.*
**Eichiad**, *s. m.* (aich) A crying out loudly.
**Eichiaw**, *v. a.* (aich) To sound, to utter noise.
**Eichiawg**, *a.* (aich) Abounding with noise; loud. *s. c.* What is loudly uttered; loud fame.

Cog lafar a gan gha ddydd,
Cyfrau eichiawg yn nolydd.

The loquacious cuckoo sings with the day, the *noisy* jewel in the dales. *Llywarch Hen.*

Cyn golo gweryd ar y grudd hael edfynt,
Doeth dygyrched e ged, a'i glod, a'i eichiawg.

Before the earth was covered over the cheek of the generous departed one, wisely collected was his treasure, and his praise, and his *high sounding fame*. *Aneurin.*

**Eichiawl**, *a.* (aich) Tending to be noisy or loud.
**Eidiaw**, *v. a.* (aid) To give life, or briskness.
**Eidiawg**, *a.* (aid) Full of life, lively; vigorous, mettlesome, brisk; wanton.

Bywiawg ac eidiawg ydyw——
Y march.

Lively and *vigorous* is the steed. *T. Aled.*

**Eidiawl**, *a.* (aid) Lively, animated, vigorous.

Os doeth wyd, ystwyth, eidiol,
'Y ngharw ffyrf, gwna gynghor ffol.

If thou art wise, my lusty stag supple and *vigorous*, do according to the advice of the simple. *W. Cynwal.*

**Eidiogi**, *v. a.* (eidiawg) To invigorate; to wanton

**Eidiogrwydd**, *s. m.* (eidiawg) Liveliness, briskness

**Eidion**, *s. m.—pl. t.* au (aid) A beast; a neat; a bullock; a beef; a steer. *Eidion moel*, a beast without horns.

> Nid gwar ond ych, nid talawg ond eidion.
>
> Nothing so gentle as an ox, nothing so unruly as a *steer*. *Adage.*

**Eidionyn**, *s. m. dim.* (eidion) A beast, one of the horned cattle.

> Yn hael ni bu yn hiliaw neb
> Eidionyn un odineb.
>
> Liberally there has not been procreating a *beast* of so much wantonness. *D. ab Ieuan Ddu, i darw.*

**Eidral**, *s. m. aggr.* (eidr) Ground-ivy; called also, *eiddew y ddaiar*, and *y feidiawg las*.

> Eidral, ac iagell nadroedd, a lleisw
> A llysiau mynyddoedd———
> Yw cwrw Dinbych.
>
> *Ground-ivy*, and viper broth, and urine, and mountain herbs make Denbigh ale. *S. Tudur.*

**Eidr**, *s. m.* (aid) What has a tendency to creep.

**Eidran**, *s. m.* (eidr) The marjoram.

**Eiddaw**, *s. m.* (aidd) One's own; possession; chattels. *Eiddof*, my property, or mine; *eiddot*, thine; *eiddo*, his property; *eiddi*, hers; *eiddom*, ours; *eiddoch*, yours; *eiddont, eiddynt, eiddudd*, theirs.

> Hirlas nai Bedwyr, yn gyffröedig o angeu ei ewythr, a gymyrth y gyd ag ef tri-chanwr o'r rhai eiddaw; a megys baedd coed yn mhlith torf o'r cwn, efelly y cerddws ef trwy y gelyniawl fyddinoedd
>
> Hirlas the nephew of Bedwyr, being agitated for the death of his uncle, took with him three hundred men of those who were *his own;* and like a wild boar amongst a pack of dogs, so he passed through the hostile legions. *Gr. ab Arthur.*
>
> I efyrnig y mae teithi; canys hanner cerdded gafr yw yr eiddief un geiniawg am ei blith, a dimai am ei myn.
>
> To the young goat there are legal qualities; for half of what is upon the goat is *hers;* namely one penny on account of her milk and a halfpenny for her kid. *Welsh Laws.*

**Eiddawl**, *s. f.—pl.* eiddolon (addawl) An idol.

**Eiddew**, *s. m. aggr.* (aidd) Ivy; called also, *eiddiorwg*. *Eiddew y ddaiar*, ground-ivy.

**Eiddiad**, *s. m.* (aidd) A taking to; a possessing.

**Eiddiar**, *s. m. aggr.* (aidd) Heath, ling, or hether.

**Eiddiaw**, *v. a.* (aidd) To take to one; to possess.

> Duw ni eiddiodd (dawn iddi)
> Merch i'th oes mor wych a thi.
>
> God *possessed* not (grace be to her) a maid in thy time so fair as thou. *D. ab Gwilym.*
>
> Gwraig y bo marw ei gwr, hi a ddyly fod yna uwch ben ei aelwyd hyd yn mhen y nawfed dydd; ac yno ar ol y geiniawg ddiweddaf o'r a eiddiai.
>
> A wife whose husband shall die, she ought to be there over his hearth until the end of the ninth day; and then till after the last penny that *she should have possession* of. *Welsh Laws.*
>
> Brenin tir rhywir, rhyfedd ydd eddiw
> Nad eiddio fo Wynedd.
>
> The undoubted king of the land, it is wonderful that *he doth* not *possess* Gwynedd. *Einion Wan.*

**Eiddiawg**, *a.* (aidd) That is possessed. *s. m.* One that is possessed, a slave.

> Da angeu ar eiddiawg.
>
> Death is a blessing to a *slave*. *Adage.*

**Eiddiawl**, *a.* (aidd) Relating to possession.

**Eiddiawr**, *s. m.* (aidd) That adheres, or closes to.

**Eiddig**, *a.* (aidd) Jealous. *s. m.* A jealous one.

> Dewin pob eiddig.
>
> Every *jealous one* is a conjurer. *Adage.*

**Eiddigawl**, *a.* (eiddig) Apt to incite jealousy.

**Eiddigedd**, *s. m.* (eiddig) Jealousy; zeal; solicitude. *O ddirfawr eiddigedd daioni*, from extreme zeal for goodness.

**Eiddigeddawl**, *a.* (eiddigedd) Tending to create jealousy.

**Eiddigeddiad**, *s. m.* (eiddigedd) A being jealous.

**Eiddigeddu**, *v. n.* (eiddigedd) To be jealous; to be zealous, to have zeal.

**Eiddigeddus**, *a.* (eiddigedd) Apt to be jealous.

**Eiddigeddwr**, *s. m.—pl.* eiddigeddwyr (eiddigedd—gwr) One who is jealous.

**Eiddiges**, *s. f.—pl. t.* au (eiddig) A jealous female

**Eiddigiad**, *s. m.* (eiddig) A becoming jealous.

**Eiddigor**, *s. m.* (eiddig) One that is a possessor, or guarding; a lord, or master.

**Eiddigus**, *a.* (eiddig) Jealous; cautions; zealous.

**Eiddigyn**, *s. m. dim.* (eiddig) A jealous person.

**Eiddil**, *a.* (aidd—il) Slender; small, dimunitive.

> Clwm eiddil moch ellwng.
>
> A *weak* knot will soon loosen. *Adage.*
>
> Ni bu eiddil hen yn was.
>
> The aged was not *slender* when a youth. *Adage.*
>
> Lluddedig eiddigion;
> Gnawd ar eiddil ofalon.
>
> Wearied the jealous ones; the *enfeebled* is used to cares. *Llywarch Hen.*

**Eiddilâad**, *s. m.* (eiddil) A lessening, a making slender; extenuation; enervation.

**Eiddilâawl**, *a.* (eiddil) Tending to reduce small.

**Eiddilâu**, *v. n.* (eiddil) To reduce, or make slender; to become reduced, or feeble.

**Eiddilaw**, *v. a.* (eiddil) To make slender, to lessen; to extenuate; to become small.

**Eiddileb**, *s. f.* (eiddil) Diminution, or extenuation; the *Meiosis*, in rhetoric, in which a thing is spoken of in slighter terms than it deserves.

**Eiddiliad**, *s. m.—pl. t.* au (eiddil) A making slender; extenuation, diminution.

**Eiddilwas**, *s. m.—pl.* eiddilweis (eiddil—gwas) A slender, or emaciated youth; a fribble.

**Eiddilwch**, *s. m.* (eiddil) Slenderness, smallness.

**Eiddilwr**, *s. m.* (eiddil—gwr) A slender-man.

> Piau y bedd yn y clydwr,
> Tra fu ni bu eiddilwr:
> Bedd Ebediw am Maelwr.
>
> He whose grave is in the sheltering slope, whilst he was he was no *slender person;* it is the grave of Ebediw the son of Maelwr. *E. Beddau Milwyr.*

**Eiddion**, *s. pl. aggr.* (aidd) Personal property.

**Eiddionydd**, *s. m.* (eiddion) An estate which a man holds in his own right, a demesne.

**Eiddiorwg**, *s. m.* (eiddiawr) What clasps round; ivy.

> Neus endewais i gog ar eiddiorwg bren,
> Neur laeswys fy nghylchwyl;
> Elid a gerais, neud mwy!
>
> Heard I not a cuckoo on the tree *that is bound with ivy*, which made me trail my shield, begone whom I loved, hence it shall be no more! *Llywarch Hen.*
>
> Yr oedd yn berwi (wb o'r berwau)
> Saith gan mil peirlaid o eneidiau;
> A berau hir-ddrwg, a phob eiddiorwg,
> A phawb heb olwg ar ei bolfau.
>
> There were boiling (horrid the boilings !) seven hundred thousand cauldrons-full of souls; and long wicked spits, and every *clinging thing*, and every one without sight and crawling. *Gr. ab Rhydderch Goch.*
>
> Llafnau dur o gur, ac eiddiorwg a'i caffo,
> Lleidr ceffyl diddrwg.
>
> May steel blades of pain, and *grapple* lay hold of him, the thief of the harmless nag. *S. Meirion.*

**Eiddo**, *s. m.* (aidd) One's own; possession; chattels. *Eiddof*, my property, or mine; *eiddot*, thine; *eiddo*, his; *eiddi*, hers; *eiddom*, ours; *eiddoch*, yours; *eiddynt, eiddont, eiddudd*, theirs. —*Eiddo Duw i Dduw*, the things that are God's to God.

> Y da nid eiddo'r cybydd,
> Yr hael a'i rho pieufydd.
>
> Wealth is not the *property* of the miser, the generous that gives it is the one who owns it. *Adage.*

**Eiddoed**, *s. m.* (aidd—oed) A point of meeting; a banner, or a standard.

Atorelwis Urien, ydd yr echwydd,
O bydd ymgyfarfod, am gareunydd,
Derchafwn eiddoed odduch mynydd.

Urien answered again if there should be a meeting because of kindred, we will lift up a *banner* above the mountain. *Taliesin.*

A weles Llwyfenydd ufydd cyngryn
Yn eiddoed cyhoedd, yn ail mevn,
Cad yn Rhyd Alclyd, cad yn Ynfer.

Humble and trembling that saw Llwyvenydd, a conspicuous *banner*, in the second place, a battle in the ford of Alclyd, a battle in the confluence. *Taliesin.*

**Eiddolfa**, *s. f.—pl. t.* on (eiddawl) A temple, a place of worship.
**Eiddoli**, *v. a.* (eiddawl) To worship, or to adore.
**Eiddun**, *a.* (aidd—un) Tending to raise a desire.

Ysgodig rhag cardd cerdd orun deyrn,
Cledr cedeirn cad eiddun.

Sheltering from disgrace the loud of song of the prince, the stay of the mighty ones *fond* of battle. *Cynddelw, i O. Cyfeiliawg.*

**Eiddunadwy**, *a.* (eiddun) That may be wished.
**Eiddunaw**, *v. a.* (eiddun) To desire, or to wish.

Eiddunaf na fwyf gannlwydd.

*I pray* that I be not a hundred years old. *Llywarch Hen.*

**Eiddunawd**, *s. m.* (eiddun) The act of wishing.
**Eiddunawl**, *a.* (eiddun) Having a wish, delectable
**Eidduned**, *s. f.—pl. t.* au (eiddun) A wish; a desire, an option, or choice.

Eidduned berwr hir-nos.

The *desire* of one on the scout is a long night. *Adage.*

**Eiddunedig**, *a.* (eiddun) That is wished.
**Eiddunedigaeth**, *s. m.—pl. t.* au (eiddunedig) The act of wishing, or desiring.
**Eiddunedigawl**, *a.* (eiddunedig) Optative, optional.
**Eiddunedu**, *v. a.* (eidduned) To wish, or to desire.
**Eiddunfryd**, *s. m.—pl. t.* au (eiddun—bryd) A longed for purpose, or intention.

Am urddas addas eiddunfryd Cymmry,
Daeth cymmraw a thristyd!

Upon the appropriate honour of the *choice reliance* of the Welsh, there came dejection and sorrow. *Bleddyn Fardd.*

**Eidduniad**, *s. m.—pl. t.* au (eiddun) A desiring, wishing, or longing.
**Eiddunwr**, *s. m.—pl.* eiddunwyr (eiddun—gwr) One who wishes, or desires; an intreater.
**Eiddunydd**, *s. m.—pl. t.* ion (eiddun) A desirer.
**Eiddwch**, *s. m.* (aidd) The state of being near, or within reach; proximity.
**Eiddwg**, *s. m.* (aidd) Nearness. *a.* Contiguous.

Y dydd hwnw, nid eiddwg,
Coffa dioer, i caiff y dwg.

On that day, which is not *near*, the memorial is certain, he shall obtain the benefit. *Ieuan Tew.*

**Eiddwng**, *a.* (aidd—wng) Hard by, near, contiguous. *s. m.* A neighbour.

Ef yw——
Un heb eiddwng neb iddo.

He is one without any body a *neighbour* to him. *Cad. Dafydd.*

**Eiddygan**, *v. a.* (eiddwg) To approximate.
**Eiddyganawl**, *a.* (eiddygan) Approximating.
**Eiddyganiad**, *s. m.* (eiddygan) Approximation, a drawing near, or approaching.
**Eiddyganu**, *v. a.* (eiddygan) To approximate.

Yr aelwyd hon, neus cladd cywen,
Ni's eiddyganai anghen
Yn myw Owain ac Urien.

This hearth, is it not scratched up by the fowl, want *would* not *approach towards* it in the life of Owain and Urien. *Llywarch Hen.*

**Eiddyn**, *s. m.* (aidd) The state of being close to, or set upon, or against.

Hem geiliawg rhedyn
Ar teir yn eiddyn.



I have been a cock grasshopper upon the hens in a *contact state*. *Taliesin.*

**Eigiad**, *s. m.—pl. t.* au (aig) A bringing forth.
**Eigiaeth**, *s. m.* (aig) The state of teeming, fullness.
**Eigian**, *s. m.* (aig) A bringing forth, or producing; a forcing out; force. *Mae yn gweiddi o eigian ei ben*, he is calling with all the force of his head; *gweithia o nerth eigian dy freichiau*, work with the power of the force of thy arms.
**Eigian**, *v. a.* (aig) To bring forth; to force out; to sob.
**Eigiaw**, *v. a.* (aig) To bring forth, to generate.

Eigiodd llyffaint haint egwan.

Frogs *generated* an enfeebling contagion. *W. Middleton.*

**Eigiawl**, *a.* (aig) Generative, prolific, teeming.
**Eigiawn**, *s. m.* (aig) The great source; the middle; the abyss, or the ocean.

Oeddynt yn mwynâu rhyddid—wrth eu bod mewn eigiawn oddieithr y byd yn preswylaw.

They were enjoying liberty, by being in an *ocean* dwelling separated from the world. *Gr. ab Arthur.*

**Eigion**, *s. m.—pl. t.* ydd (aig) The great source; the middle; the abyss, or great deep; the ocean. *Naw ton eigion*, the nine waves of the ocean.

Trwy eigion byd trig yn ben.

Through the *midst* of the world he will continue the thief. *Iuco Brydydd.*

**Eigr**, *s. f.—pl. t.* ion (aig) A maid, a virgin.

Gwell eigr ddoeth yn ofni Duw,
A 'chydig bach o fodd i fyw,
No'r—— oludawg ffol.

Better a discreet *maid* that feareth God, with a very little means to live, than the silly one with wealth. *R. Pritchard, o Lanymddyfri.*

**Eigraeth**, *s. m.* (eigr) The state of a virgin.
**Eigraidd**, *a.* (eigr) Like a virgin, maidenly.
**Eigrau**, *s. pl.* (eigr) Stockings without feet. *s.* Eigren. They are otherwise called *bacsau*, and *hosanau pen geist*.
**Eigraw**, *v. a.* (eigr) To make fit, to generate.
**Eigrawl**, *a.* (eigr) Proper for generating.
**Eigriad**, *s. m.* (eigr) A forming for generation.
**Eigryn**, *s. m.* (eigr) Quaking grass.
**Eil**, *s. c.* (ail) A second, or next in succession; a successor; a son; as, *Morfran eil Tegid*, *Dylan eil Ton*, and others.
**Eilar**, *s. m.* (ail—âr) A second ploughing.
**Eilaru**, *v. a.* (eilar) To plough a second time.
**Eilchwaith**, *s. f.* (ail—chwaith) The second time. *adv.* A second time, or once more.
**Eilchwyl**, *s. f.* (ail—chwyl) The second turn. *adv.* A second time, once more, again.
**Eilewydd**, *s. m.* (alaw) A musician; a minstrel.

Can yw y daethant,
Can eilewydd gant,
Ef a'u darogant.

Since it is they are come, a hundred with the *master of harmony*, he will foretell of them. *Taliesin.*

Eilewydd celfydd
Pyr na'm dywëyd!

The ingenious *minstrel* why doth he not inform me! *Taliesin.*

**Eilfaint**, *s. m.* (ail—maint) Second rate. *a.* Second rate, of the second magnitude.
**Eilfam**, *s. f.* (ail—mam) A second mother.

Eilfam modryb dda.

A good aunt is a *second mother*. *Adage.*

**Eilfydd**, *a.* (ail—bydd) Being second to or like.
**Eilfyddu**, *v. a.* (eilfydd) To imitate, to resemble.
**Eiliad**, *s. m.—pl. t.* au (ail) A placing alternately, or putting together in order, a constructing.

Eilio'r iaith fal Iolo'r oedd,
Eiliad awdl Aled ydoedd;
Awen ddofn o'r un ddefnydd
A'r gawod fel ar goed fydd.

He was harmonizing the language like Iolo, it was the ode *construction* of Aled; it was a profound gift of the same matter as money dew which on trees is found.
*Gr. ab I. ab Llywelyn Fychan.*

**Eiliant**, *s. m.* (ail) Constructure, concordance.

**Eilias**, *s. f.—pl. t.* au (al—ias) Harmonic influence or power.

**Eiliasaf**, *s. m.* (eilias) The flow of harmonious influence or power.

Urien yd gyrchaf—
Cynnwys a gaffaf
O'th parth goreuaf,
Ydan eiliasaf.

To Urien I will resort, reception I will meet with, in the best of situations under the *flow of sweet music.* *Taliesin.*

Dinas ei dias ar led eithaf,
Dor angor byddin budd eiliasaf.

A city whose fame extends to the remotest parts, the straying shelter of the host; the benefit of the *flow of pervading melody.* *Aneurin.*

Dygogiawdd ton befr berierin
Men ydynt eiliasaf elain.

The bright wave on her pilgrimage rolls down where the young deer are in *full melody.* *Aneurin.*

**Eiliaw**, *v. a.* (ail) To put in succession, or order; to harmonize; to construct; to build, or to erect; to plait; to wattle.

Eiliais erod glod, gloew-deg Wenlliant;
Eiliodd dy foliant fil ychwaneg.

*I have constructed* a panegyric for thy sake, Gwenlliant brightly fair; a thousand more *have constructed* thy praise. *Casnodyn.*

**Eiliawd**, *s. m.* (ail) The act of placing alternately, or constructing.

**Eiliawg**, *a.* (ail) Placed together, or constructed.

**Eilier**, *s. m.—pl. t.* au (ail) What makes, or undergoes, changes; the butterfly. It is also called, *eilir*, *ilir*, *pila*, *pilai*, and *gloyn byw*.

**Eilig**, *a.* (al) Having aptness to glide or flow.

Gorwyn blaen helyg, eilig pysg yn llyn;
Gochwiban gwynt uwch blaen gwrysg man:
Trech anian nog addysg.

Glittering the tops of the willows, *playful* the fish in the pool; whistling the wind over the small branches; nature is more powerful than precept. *Llywarch Hen.*

**Eilir**, *s. m.—pl. t.* ion (ail—ir) Regeneration, reanimation, a return of moisture; a butterfly. *Alban eilir*, the vernal equinox.

Mwy na'r eilir yn min drych
Ni wnaent ond edrych arno.

Like the *butterfly* on the side of the mirror they will do nothing but gaze upon him. *H. Dafi.*

**Eiliw**, *s. m.—pl. t.* oedd (ail) Appearance, colour, pretence, form, or figure.

Dwyn eu heiliw eu hun oddiarnynt, a dodi eiliw arall arnynt, fal na adnepid, a orug.

He took away their own *form* from them, and gave another *form* to them, so that they were not known.
*H. P. P. Dyfed—Mabinogion.*

**Eiliwed**, *s. m.* (eiliw) Reproach, or disgrace.

Crefydd y Creawdr a gyfrifed
I Ruffudd, gloew udd a'i cudd tudwed,
Hyd na's gwnel pechawd pell eiliwed,
Pedrydawg deyrn uch cyrn coned.

Faith in the Creator is attributed to Gruffudd, the exalted chief, who is concealed in earth, so that sin shall not cause distant *reproach*, he that is a powerful prince over the horns of exhileration.
*Meilyr.*

**Eiloes**, *s. f.* (ail—oes) A second age, or life; a second time. *adv.* Again.

**Eilon**, *s. m.* (al—on) Music, harmony, melody; also the hart, or roebuck. *Eilon mynydd*, a wild roebuck.

Yr ydwyf yn gynt—i dai'r dilan—
Na'r eilon i'r lan, na'r elain i'r coed,
Nag o droed a roed i oradain.

I am swifter to the houses of the two, than the roebuck to the bank; than the hind to the wood, or than the speed that is given to the swiftest wing. *L. G. Cothi.*

Oiana parchellan, andaw di'r eilon
A gread adar cer Caer Rheon.

Listen, little pig, hear thou the *melody* which the feathered tribes are making by Caer Rheon. *Myrddin.*

Caraf eaws fal forehun Iudd,
A golygon hwyr hir-wyn i grudd;
Caraf eilon mygr maith arnadudd,
Eiliwed aserw, a seirch cystudd.

I love the nightingale the obstruction of the morning sleep in May, with downcast looks, and long white-sided head; I love the sweet *melody*, heavy upon her the reproach of shining in solitude, with the trappings of affliction. *Gwalchmai.*

**Eilpai**, *adv.* (ail—pe) As if.

**Eilsaig**, *s. m.—pl.* eilseigiau (ail—saig) Second course, or portion of victuals.

**Eilun**, *s. m.* (ail—un) A copy, image, or resemblance; a representation, picture, or portrait, an idol.

Y mae delw ac eilun Duw mewn dyn.

There be the form and *image* of God in man.
*Ll. G. Hergest.*

**Eilunaddolaidd**, *a.* (eilun—addolaidd) Idolatrous

**Eilunaddolgar**, *a.* (eilun—addolgar) Idolatrous.

**Eilunaddoli**, *v. a.* (eilun—addoli) To worship images, or idols, to commit idolatry.

**Eilunaddoliad**, *s. m.* (eilun—addoliad) A worshipping of images; idolatry.

**Eilunaddoliaeth**, *s. m.* (eilun—addoliaeth) Idolatry

**Eilunaddoliant**, *s. m.* (eilun—addoliant) Idolatry.

**Eilunaddolwr**, *s. m.—pl.* eilunaddolwyr (eilun—addolwr) A worshipper of images.

**Eiluniad**, *s. m.* (eilun) A copying, a portraying.

**Eiluniaeth**, *s. m.* (eilun) A copy, or resemblance.

**Eiluniant**, *s. m.* (eilun) A portraiture, a picture.

**Eiluniaw**, *v. a.* (eilun) To copy, or to represent.

Eilunid Dunawd Dehewaint,
Aer ei enw, ei arfau o Ffrainc.

Dunawd *let him resemble* Dehewaint, whose name is slaughter, and his arms from France. *Meigant, m. Cynddylan.*

**Eiluniawl**, *a.* (eilun) Having a resemblance.

**Eiluniwr**, *s. m.—pl.* eilunwyr (eilun—gwr) One who makes a copy, or resemblance.

**Eilw**, *s. m.* (al) Melody, harmony. *a.* Melodious.

**Eilwaith**, *s. f.* (ail—gwaith) A second time, or turn. *a.* Second time, or again.

Pryn hen, pryn eilwaith.

Buy what is old, and buy a *second time.* *Adage.*

**Eilwy**, *s. m.—pl. t.* on (al) That makes melody, or harmony; a musician; a minstrel.

Agores ei lys i les eilwyon byd;
Eithid i esbyd ei ysborthion.

He opened his court for the benefit of the *minstrels* of the world; to the guests are given his provisions.
*Cynddelw, i Gadwallawn.*

I gerddawr am breiddiawr, am brain;
I eilwyon am eirchion archfain;
I fiaidd rhudd i urddaw budd i frain;
I feirdd dwfn dyfyd a gofiain.

To a songster looking for the fruit of the chase, and for a delicacy; to the *sons of melody* for slender-bodied gifts; to a ruddy wolf to prepare a treasure for ravens; to the profound bards will come what will be kept in memory.
*Cynddelw, m. O. Gwynedd.*

**Eilwydd**, *s. m.* (al—gwydd) Harmonic presence, a love meeting, or assignation.

Ebrwydd—ydd af,
Lle fym llwydd eilwydd arwydd araf.

Quickly I will go where I shall prosper in a *meeting of harmony*, a gentle sign. *Ll. P. Moch, i ferch.*

——Gwneuthum
Dywllun oed a bun lle bum,
Lle gwelais hoen geirw trais trai;
Ddywsul y hi addawsai
Ddyfod i eilwydd ofyn,
Lle ni ddaeth llawen o ddyn.

I made on Monday an assignation with the fair where I have been, where I have seen her of the hue of the foamy waves of the stealing ebb; on Sunday she had promised to come to seek an *assignation* where the blithesome nymph never came.
*D. ab Gwilym, i Forfudd.*

**Eilwys**, *s. pl.* (al—gwys) Powers of harmony.

E a wnaeth eilwys,
Yn llys paradwys,
O asen aswys
Iesin ffemina.

The *powers of harmony*, in the court of paradise, did form, out of a left rib, a beauteous female. *Awdl fraith.*

**Geirber**, *a.* (gair—per) Sweetly-speaking.

**Geirda**, *s. m.* (gair—da) A good word; fame.

Melys geirda am y garer.

The *praise* of what one loves is sweet. *Adage.*

Gwall i ddyn golli ei dda,
Ofer-daith, efo ei eirda.

It is folly for a man to lose his property, and useless, with his *character*. *Ed. Morus.*

**Geirdardd**, *s. m.* (gair—tardd) Etymology.

**Geirdarddawl**, *a.* (geirdardd) Etymological.

**Geirdro**, *s. m.—pl. t.* ion (gair—tro) A pun.

**Geirdröad**, *s. m.* (geirdro) A punning.

**Geirdröedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (geirdröad) A punster, a player upon words.

**Geirddadl**, *s. f.—pl.* geirddadlau (gair—dadl) A captious argument, or cavil about words.

**Geirddadliad**, *s. m.* (geirddadl) A cavilling about words; a quibbling.

**Geirddadlu**, *v. a.* (geirddadl) To cavil about words; to quibble.

**Geirddadlus**, *a.* (geirddadl) Apt to quibble.

**Geirddadlydd**, *s. m.—pl. t.* ion (geirddadl) A caviller about words; a quibbler.

**Geirddoeth**, *a.* (gair—doeth) Of discreet words.

**Geirfrith**, *a.* (gair—brith) Of probable word.

Neu'r dierfais i rin—
Ys geirfrith cyfrenin
Bran bore ddewin!

Have I not exposed a mystery! If the omen of the diviner by the mourning raven be *of probable words*. *Taliesin.*

**Geirgall**, *a.* (gair—call) Of discreet words.

**Geirgar**, *a.* (gair—car) Verbose, fond of words.

**Geirgarwch**, *s. m.* (geirgar) Verbosity, prolixity.

**Geiriad**, *s. m.—pl. t.* au (gair) A wording.

**Geiriadu**, *v. a.* (geiriad) To word, to phrase.

**Geiriadur**, *s. m.—pl. t.* on (geiriad) A vocabulary.

**Geiriaw**, *v. a.* (gair) To word, or to phrase.

Nycha, clywn gog, liosog lais,
Yn geiriaw can a garais.

Lo, I could hear the cuckoo, of full voice, *dictating* a song I loved. *D. ab Gwilym.*

**Geiriawg**, *a.* (gair) Wordy, verbose, full of words, or talkative. *s. m.—pl.* Geiriogion. A verbose person; an orator, or speaker.

**Geiriawl**, *a.* (gair) Verbal; garrulous; wordy.

Yr aelwyd hon a'i goglud gawr,
Mwy gorddyfnasai ar i llawr
Medd a meddwon geiriawl.

This hearth that is forsaken by the shout, more congenial on its floor would have been the mead and *talkative* drunken ones. *Llywarch Hen.*

**Geiriolaeth**, *s. m.* (geiriawl) Phraseology.

Mi osodais bob peth o'r athrawiaethau ar ddosbarth, yn y wedd, a'r drefn, a'r modd, herwydd iaith a geiriolaeth ymadrawdd ag y cefais hwynt yn yr hen lyfrau.

I have laid down every thing of the instructions in regimen, in the way, order and mode, with respect to language, and *phraseology* of diction, as I have found them in the old books. *E. Dafydd.*

**Geirioli**, *v. a.* (geiriawl) To phrase; to verbalize.

Tri iawnder y sydd ar iaith: iawn eirioli, iawn ymddwyn, ac iawn leferydd.

There are three just things appertaining to language: just phrasing, just construction, and just enunciation. *Barddas.*

**Geiriolus**, *a.* (geiriawl) Verbose, garrulous.

**Geirlyfr**, *s. m.—pl.* geirlyfrau (gair—llyfr) A vocabulary; a dictionary.

**Geirllaes**, *a.* (gair—llaes) Of drawling words.

**Geirllaesrwydd**, *s.* (geirllaes) Slowness of speech.

**Geirllwydd**, *a.* (llwydd) Of prosperous words.

Fynawg riain fain funud,
Fun arliudd hun, eirllwydd hud.

She is a polite lady of delicate air, a fair one obstructing sleep, *of word prospering* allurement. *H. ab Einion Llygliw.*

**Geirswyn**, *s. m.* (gair—swyn) The charm, or power of words.

**Geirw**, *s. pl. aggr.* (garw) Roughs; surges, or billows; cataracts, or falls.

Llif eirw o wir llif oer oedd.
Llai fu airw'r holl foroedd.

The flowing of *cataracts* from the sky, a cold flood it was, less were the *surges* of all the seas. *Ior. Fynglwyd.*

**Geirweddiad**, *s. m.* (gair—gweddiad) Phraseology

Y pethau a barant eglur Gymmraeg yw perffaith leithyddiaeth, a chyfiawn eirweddiad.

The things that are condusive to perspecuity in the Welsh, are perfect construction, and just *phraseology*. *Barddas.*

**Geirwir**, *a.* (gair—gwir) Of true words; true.

Geirwir fywyd a garoedd,
All Homer, ddysg hyddysg, oedd.

A life of *sincere conversation* he loved, like Homer, profound in learning was he. *Ieu. Thomas, o Forganwg.*

**Geirydd**, *s. m.—pl. t.* ion (gair) A worder; a philologist; a speaker.

Ni elwir yn euawg onis geirydd.

He wil not be called lying if he is not a *speaker*. *Adage.*

**Gel**, *s. f.—pl. t.* od (ge—el) Aptness to flow, or to ooze; a leech. *Gel y meirch*, neu *gel bendoll*, the horse-leech.

**Gelach**, *s. m.—pl. t.* od (gel) A languid one; a little sorry fellow, a fribble.

**Gelawr**, *s. f.—pl* geloran (elawr) A bier.

**Gele**, *s. f.—pl. t.* od (gel) A slow rill; a leech.

I'r gele y mae dwy ferch yn llefain, moes, moes.

To the *leech* there are two daughters calling, give, give. *Prov. xxx. 15.*

**Gelen**, *s. f. dim.* (gel) A leech. *Gelen bendoll*, the horse leech.

**Geleu**, *s. f.—pl. t.* od (gel) That flows imperceptibly, that oozes; a leech.

Edewis terwyn teyrn feibion,
A edeu geleu yn eu galon.

The violent one has left behind him royal sons who would leave *gushing of blood* in their foes. *Cynddelw, m. Cadwallon.*

**Geleuan**, *s. f. dim.* (geleu) A small leech.

**Geleurudd**, *s. m.* (geleu—rhudd) A flow, or oozing of red. *a.* Red oozing; crimson-stained.

Geleurudd ein gwyr gwedi lludded trwm,
Tremid gofwy mur Maelawr drefred.

The *crimson-stain* of our men after heavy toil, be it seen by the visitant of the wall of Maelor Drefred. *O. Cyfeiliawg.*

Bardd Llywelyn hael hyd ym gelwir,
Geleurudd gelyn i bob anwir.

The bard of Llywelyn the generous, though I may be called *stained with blood*, a foe to every unjust one. *Cynddelw.*

**Geleuruddiad**, *s. m.* (geleurudd) A crimson-stained one; a blood-stained warrior.

Ef gogwydd galon geleuruddiaid aer
I orfod ei ysbaid.

He will bring down the foes, *red-stained men* of slaughter to submit to his terms. *L. P. Moch, i Rodri.*

**Geleuruddiaw**, *v. a.* (geleurudd) To cause a crimson fluid; to stain with blood.

**Gelfryd**, *s. m.* (gel—bryd) A breaking out of the mind.

Gwelais Rys yn llys Eissidlo,
Gelfryd gelyn yn allfro.

I have seen Rhys in the hall of Eissidlo, with the *raging mind* of an enemy in a foreign country. *Phylip Brydydd, i R. Gryg.*

**Geli**, *s. m.—pl. t.* on (gel) A shooting out.

Dyddfawl baladr deddf ail Beli,
Dawn Duw seli dan dy seilwydd;
Dwg yn waladr deg iawn eli,
Doniau Celi, dinag hylwydd.

With couched shaft following the example of Beli, the grace of God thou wilt see to support thy undertaking; the gifts of the mysterious one, infallibly prosperous, will produce a leader, a *branch* supremely fair. *Meir. Dafydd.*

**Gelin**, *s. m.—pl. t.* au (gel) What springs out.

O lwyth Elystan, a'i lin
Eurald wal yr wyd elin;
O gynan, loew lydan wledd,
Wyd o iawn-waed dwy Wynedd.

Of the tribe of Elystan, and his race of golden heritage, thou art a *shoot*; by Cynan, of the splendid and ample feast, thou art of the true blood of each Gwynedd. *Meir. Dafydd.*

**Geloer**, *a.* (gel—oer) Temperately cold, rather cold; fresh, enlivening, wholesome. *Bore geloer têg*, a fair and temperately cold morning. *Diawd eloer iawn*, very refreshing drink. *Gwent*

**Geloer**, *s. m.* (gel—oer) A temperate, or refreshing coldness. *Sefyll yn y geloer*, to stand in a cool place, in warm weather. *Gwent.*

**Gelwain**, *v. a.* (galw) To cry out frequently.

**Gelwig**, *s. f.—pl. t.* oedd (gel—gwig) Small wood, brushwood, or underwood. *Sil.*

**Gelyn**, *s. m.—pl. t.* ion (gal) A foe, or enemy. *Gelyn yr ieir*, a buzzard.

Hoedl dyn nid gelyn a'i rhan.

The life of a man, it is not an *enemy* that has the disposal of it. *Adage.*

Tri chosb cristion ar ei elyn: maddeu iddo, tewi arno, a gwneuthur daioni iddo hyd eithaf gallu.

The three punishments of a christian on his *foe*: to forgive him, to be silent of him, and to do good to him to the utmost of his power. *Barddas.*

**Gelynaidd**, *a.* (gelyn) Of a hostile nature.

**Gelynes**, *s. f.—pl. t.* au (gelyn) A female foe.

**Gelyniaeth**, *s. m.—pl. t.* au (gelyn) Hostility.

**Gelyniaethawl**, *a.* (gelyniaeth) Relating to a state of warfare.

**Gelyniaethu**, *v. a.* (gelyniaeth) To create hostility, or warfare; to render hostile.

**Gelyniaethus**, *a.* (gelyniaeth) Suitable to hostility, or warfare; of hostile disposition.

Nid oes un cenedl mor ddigariad, a mor elyniaethus i'w iaith ei hunan ag ydyw y Cymmro.

There is not one nation so void of affection, and so *hostile* to its own language, as the Welshman is. *S. Trefredyn.*

**Gelyniawl**, *a.* (gelyn) Hostile, or adverse.

Yna trwy elyniawl drais y gwynoedd, gwedi ei fod ar fawdd trwy ysbaid pum nywyrnawd, y bwrwid y brenin Denmarc ygyd a'i forwyn, can ergrynedig ofn i'r gogledd i'r tir.

Then through the *hostile* power of the winds, after being on the brink of drowning, through the space of five days, the king of Denmark was cast on shore in the north, together with his damsel, trembling with fear. *Gr. ab Arthur.*

**Gelynioldeb**, *s. m.* (gelyniawl) A state of war.

**Gelyniolrwydd**, *s. m.* (gelyniawl) A hostile state.

**Gelynus**, *a.* (gelyn) Hostile, suitable to a foe.

**Gelyst**, *s. pl. aggr.* (gel—yst) Sedges, or flags.

**Gell**, *s. m.—pl. t.* oedd (ge—ell) A dun, or bay colour. *a.* Dun, or gloomy.

Gell y paladr, gell,
Gellach o bell.

*Dark* is the shaft, *dark*,
Darker from afar. *Aneurin.*

**Gellaig**, *s. pl. aggr.* (gell) Pears. They are also called *Rhwnyn* and *peranau*.

March Rhydderch ryddig
Llwyd lliw ellaig,
Llamrai llawn elwig,
Ffroenfoll gwyrenig.

The steed of Rhydderch over-mettled, brown of the colour of *pears*, and Llamrai full of vigour, rearing the snorting nostril. *Taliesin.*

**Gellast**, *s. f.—pl.* gelleist (gell—gast) A buckhound bitch.

**Gelleigbren**, *s. m.* (gellaig—pren) A pear tree.

**Gelleigen**, *s. f.* (gellaig) A pear, or one pear.

**Gelleiglys**, *s. m.* (gellaig—llys) Winter green.

**Gelleigwydd**, *s. pl.* (gellaig—gwydd) Pear trees.

**Gelleigwydden**, *s. f.* (gelleigwydd) A pear tree.

**Gellgarw**, *s. m.—pl.* gellgeirw (gall—carw) A reindeer; it is also called algar.

**Gellgi**, *s. m.—pl. t.* on (gell—ci) A kind of large hunting dog, of a dun colour; a buck-hound.

Yn y coed gyfarwyneb ag ef y clywai ellgwn yn cyfodi hyddgant.

In the wood facing him, he could hear the *hounds* starting a stag. *H. Peredur—Mabinogion.*

**Gellhesg**, *s. m.* (gell—hesg) Water flower-de-luce *Gellhesgen yr yd*, corn-flag; *gellhesgen ber*, sweet flag.

**Gellwng**, *v. a.* (ge—llwng) To loosen, to let go; to discharge, to drop; to disband.

**Gellyngawl**, *a.* (gellwng) Laxative, relaxing.

**Gellyngiad**, *s. m.* (gellwng) A loosening; a dropping; a disbanding, or discharging.

**Gem**, *s. f.—pl. t.* au (em) A gem, a jewel.

Gwaeg sy 'ngem ei wregys.

There is a broche in the *jewel* of his girdle.

**Gemawg**, *a.* (gem) Abounding with gems.

**Gemawl**, *a.* (gem) Relating to gems; jewelled.

**Gemiad**, *s. m.* (gem) A setting with gems.

**Gemu**, *v. a.* (gem) To adorn with gems.

**Gemwaith**, *s. m.* (gem—gwaith) Work studded with gems; needle-work studded with gems.

**Gemydd**, *s. m.—pl. t.* ion (gem) A jeweller.

**Gen**, *s. m.—pl. t.* oedd (ge—en) The intellect, or soul. *Ar dy en na ddos yno*, on thy life go not there; *cei dalu, er gwaetha'n d'en*, thou shalt pay, do what thou wilt; *gwaetha'n d'en*, in spite of thee; *gwaetha' d'en*, maugre thee.

Gwr dirfing, gwryd oerfel,
Ein gelyn ni'n gelain el;
A gen y gwr gan ei gi,
A'i gorff ei i Gaerfili.

The severe man of cold constitution, a foe to us, may he become a corpse; and the *soul* of the fellow let it go into his dog, and his body let it go to Caerfili. *D. ab Gwilym.*

**Gen**, *s. f.—pl. t.* au (ge—en) An opening, or mouth; a jaw; a chin. *Clicied gen*, a jawbone. *Mi'th lusgaf gerfydd dy ddwy en*, I will drag thee by thy two jaws.

Y corn a'th roddes di Urien,
A'r arwest aur am ei en,
Chwyth ynddo o'th daw anghen.

The horn which was given to thee by Urien, with the golden chain round its *brim*, blow in it if danger comes to thee. *Llywarch Hen.*

**Genau**, *s. pl.* (gen) The jaws, the lips, the mouth; outlets or inlets. *Aur enau*, golden lips.—The double plural *Geneuau*, is often used. *Genau y Glyn*; places so called in Glamorganshire and Cardiganshire.

A fo doeth efe a dau;
Annoeth ni reol enau.

He that is wise will be silent, the unwise will not govern the *lips*. *G. ab Ieuan Hen.*

**Genawg**, *a.* (gen) Having a long jaw.

**Genawl**, *a.* (gan) Relating to birth, natural.

**Genedig**, *a.* (gan) Brought forth, or born.

**Genedigaeth**, *s. m.—pl. t.* au (genedig) A nativity.

**Genedigawl**, *a.* (genedig) Native, or natural.

**Geneth**, *s. f.—pl. t.* od (gan) A damsel, a maid, a girl, a daughter.

**Genethaidd**, *a.* (geneth) Maidish, or girlish.

**Genethan**, *s. f. dim.* (geneth) A little maid.

**Genethig**, *s. f. dim.* (geneth) A little maid.

**Geneuaid**, *s. m.—pl.* geneueidiau (genau) A mouthful, or a chopful.

**Geneuawl**, *a.* (genau) By mouth, oral.

**Geneugoeg**, *s. f.—pl. t.* ion (genau—coeg) A lizard, an eft.

Ni fyn dyn weled y carnlladron o bechodau sydd yn llechu ynddo, mal y gweli di y geneugoegion ac y pryfed mewn pwll drewllyd.

A person will not chuse to see the arrant deceivers of sins that lurk within him, just as thou seest the *efts* and other worms in a stinking pit. *Morgan Llwyd.*

**Genfa**, *s. f.—pl. t.* au (gen) A snaffle, or bit of a bridle; also a barnacle, a farrier's instrument.

**Genffrwyn**, *s. f.—pl. t.* au (gen—ffrwyn) The chinstay of a bridle.

**Geni**, *v. n.* (gan) To appear, to be brought forth, to be born.

Pob byw a enir i esgar.

Every living thing is *born* to separate. *Adage.*

Nid rhaid i ddedwydd namyn ei eni.

The discreet wants only *to be born.* *Adage.*

A'r drydedd cymyredd ced,
I Wynedd wiw a aned.

And the third, greeting with treasure, to fair Gwynedd *has been brought forth.* *Iolo Goch, i'r Seren.*

**Gèni**, *v. n.* (gàn) To be held, or contained.

**Genid**, *s. m.* (gan) Nativity, or birth; the state of being brought forth.

**Genill**, *s. m.—pl. t.* ion (gan—ill) A progeny, an offspring.

**Genilles**, *s. f. dim.* (genill) A young nymph.

Genilles, a'm liw cyd a'm lladdwy ar air.

A *nymph* reproaches me, whilst with a word she kills me. *Gwalchmai.*

**Genillyn**, *s. m. dim.* (genill) One begotten.

**Genogl**, *s. f.—pl.* genoglau (genawg) The mandible, or jaw.

**Genolaeth**, *s. m.* (genawl) A bringing forth.

**Genwair**, *s. f.—pl.* genweiriau (gen—gwair) A fishing rod.

Rhaid iddo, cilio i cair,
Droi'n gynnil wrth drwyn genwair.

He will be found to draw back, he must turn with exactness at the end of the *angling rod.* *H. D. Llwyd.*

**Genweiriad**, *s. m.* (genwair) An angling, fishing.

**Genweiriaw**, *v. a.* (genwair) To angle, to fish.

**Genweiriwr**, *s. m.—pl.* genweirwyr (genwair—gwr) An angler, or a fisher with a rod and line.

**Geol**, *s. f.—pl. t.* ydd (ge—ol) A gaol, a prison.

Ban yd ran ei rad——
Ban orch ëol cad cedawl wron.

Conspicuously he distributes his bounty; conspicuous the bound of the battle *prison* of the treasure-giving hero. *Gwalchmai.*

**Ger**, *s. m.—pl. t.* au (ge—er) Utterance, a cry.

Dymhunis ton wyrdd wrth Aber Dau:
Dychyrch glan glaswyn, glwys y ffrydau;
Diysig yd gan ednan enau,
Addawd ym gwrthrawd gwrthred gerau.

A green wave at Aber Dau gave me a lullaby: it embraces the pale green bank, pure are the streams; free from pain sings the mouth of the little bird, stationed to oppose me with contrary *notes.* *Gwalchmai.*

**Gèr**, *prep.* (cèr) By, or at; near to, hard by. *Ger wyneb â mi*, face to face with me. *Sil.*

Tri angen Duw: anfeidrawl ger ei hun, meidrawl ger meidrawl, a chyfun â phob cyfwr bywydolion yn nghylch y gwynfyd.

The three necessary essentials of God: infinite by himself, finite to finite comprehensions, and counting with every mode of existence in the circle of the world of intellect. *Barddas.*

**Gerag**, *prep.* (gèr) Toward, in a direction to.

**Gerain**, *v. a.* (ger) To squeal, to squeak, to cry.

**Geran**, *v. a.* (ger) To squeal, to squeak, to cry.

Ai byw ai marw garw ei gân,
Ai gwr a glywai'n geran?

Alive or dead, whence that sad moan; is it a man whom I hear *wailing?* *D. ab Gwilym, i'r Ysbryd.*

**Geranllyd**, *a.* (geran) Spuealing, or squeaking.

**Gerbron**, *prep.* (ger—bron) In presence.

**Gereinllyd**, *a.* (gerain) Squeaking, squealing.

**Gerfydd**, *prep.* (gèr) In contact with, by. *Gerfydd dy law*, by thy hand; *llusgaf di gerfydd dy wallt*, I will drag thee by thy hair.

**Geri**, *s. m.* (ger) The choler, bile, or gall.

Can chwerwed a'r geri.

As bitter as the gall. *Adage.*

Hebddi——
Geri yw i mi fy mod.

Without her it is *gall* for me to exist. *D. ab Gwilym.*

——Cewch gyhoeddi
Fal i medrwyf, yn ych plith,
A digon chwith, fal geri,
Gan ieuenctyd glywed hwn;
Ni ddysgwn fawr ddaioni.

You shall have it published, as well as I can, amongst you, and bitter enough, like *gall*, will it be with youths to hear this; we shall not teach much good. *T. ab Ieuan Madawg.*

**Gerïaidd**, *a.* (geri) Choleric, or bilious, like bile.

**Gerïawg**, *a.* (geri) Abounding with bile, bilious.

**Gerïawl**, *a.* (geri) Relating to the choler, or bile.

**Gerllaw**, *prep.* (ger—llaw) At hand, by, near.

**Germain**, *v. a.* (garm) To cry often, to wail.

Pan eisteddo ar fainc y frawd
Fe glyw y tlawd yn germain.

When he shall sit on the throne of judgement, he will hear the poor *complaining.* *Edm. Prys.*

**Gern**, *s. m.—pl. t.* au (ger) That extends far; depth, or profundity; collateral; a fifth relative, or cousin.

**Gerni**, *s. pl. aggr.* (gern) Collateral kindred in the fifth degree. They are also called *Ceifyn* and *Ysgiwion. Gwrth gerni*, the same with *Gwrtherni*, relations in the sixth degree. See *Tras.*

Sef yw rhieni gwr, ei dad, ei hendad, ac ei orhendad; ac o hyny hyd y nawfed ach ac edryd, gerni os gelwir.

The parentage of a man implies, his father, his grandfather, and his great grandfather; and onwards unto the ninth degree and descent, they are called *cousins.* *Welsh Laws.*

**Gerwin**, *a.* (garw) Rough, severe, rigorous.

**Gerwinad**, *s. m.* (gerwin) A making rough; a becoming harsh, or severe.

**Gerwinaw**, *v. a.* (gerwin) To make rough, or harsh; to become rough or rigorous.

**Gerwinawl**, *a.* (gerwin) of a rough or harsh nature. *Mae yn gyru arno yn erwinawl*, he is driving upon him terribly.

**Gerwindeb**, *s. m.* (gerwin) Roughness, ruggedness, harshness, severity, or inclemency.

**Gerwydd**, *prep.* (ger—gwydd) In presence. *Gerwydd ei wyneb*, before his face; *gerwydd y ty*, before the house. *Sil.*

**Gerwyneb**, *prep.* (ger—gwyneb) In presence.

**Gerwynebawl**, *a.* (gerwyneb) Opposite. *Yn erwynebawl*, being present.

**Gerwynebu**, *v. a.* (gerwyneb) To place opposite.

**Geryn**, *s. m.—pl. t.* od (gar) One that utters a shrill cry. *Geryn hwyad*, a mallard.

**Gestwng**, *v. a.* (ystwng) To incline, bend, or bow down, to lower, to abase.

Drud i ddala, doeth i estwng.

A furious one to catch, a wise one to *subject.* *Adage.*

**Gestyngawl**, *a.* (gestwng) Tending to lower.

**Gestyngiad**, *s. m.* (gestwng) A lowering, a bowing, or inclining down; subjection.

**Gestyngu**, *v. a.* (gestwng) To lower, to bow down.

**Geuaddoli**, *v. a.* (gau—addoli) To worship falsely.

**Genaddoliad**, *s. m.* (gau—addoliad) A false worshipping, idolatrous worship.

**Geuaddoliaeth**, *s. m.* (gau—addoliaeth) False worship; idolatry.

**Geuaddolwr**, *s. m.—pl.* geuaddolwyr (gau—addolwr) A false worshipper; an idolater.

**Geuain**, *a.* (gau) Full of falsity; lying; false.

**Geuaw**, *v. a.* (gau) To falsify, to make false.

**Geuawd**, *s. m.* (gau) A falsifying, deception.

**Geuawg**, *a.* (gau) Fallacious, lying, deceiving.

Nesau a orug Merddin at y dewinion, a gofyn iddynt: Dywedwch i mi, dwyllwyr geuawg, pa beth y sydd yn ngwaelawd y llyn.

Merddin drew near to the magicians, asking them: tell me, ye *false* deceivers, what is there in the bottom of the lake. *Gr. ab Arthur.*

**Geuawl**, *a.* (gau) Fallacious; deceiving.

**Geublant**, *s. pl. aggr.* (gau—plant) False children.

Crin calaf, a llif yn nant,
Cyfnewid Sais a'i ariant:
Digu enaid mam geublant.

A brittle reed, or a flood in the ravine, is the dealing of the Saxon with his money: void of affection the soul of the mother *of false children.* *Llywarch Hen.*

**Geubwyll**, *s. m.—pl. t.* oedd (gau—pwyll) A false reason, false sense.
**Geudeb**, *s. m.* (gau) Falsehood, or deceit.
**Geudy**, *s. m.—pl. t.* au (gau—ty) A privy house.
**Geuddadl**, *s. f.—pl.* geuddadlau (gau—dadl) Paralogy, or sophistical argument.
**Geuddadledd**, *s. m.* (geuddadl) A paralogism.
**Geuddadliad**, *s. m.* (geuddadl) Arguing falsely.
**Geuddadlu**, *v. a.* (geuddadl) To paralogize.
**Geudduw**, *s. m.—pl. t.* iau (gau—duw) False god.

> Ei saeth, y geudduw syth-wan,
> A'i fwa tost a fo yn tan.
>
> May the arrow and the severe bow of his strutting, *feeble, deceiving godship* be in the fire. *S. Tudur, i'r Cariad.*

**Geudduwiaeth**, *s. m.* (geudduw) False theology.
**Geuedd**, *s. m.* (gau) Falsehood, falsity, fallacy.
**Geufardd**, *s. m.—pl.* geufeirdd (bardd) False bard
**Geuffydd**, *s. f.—pl. t.* ion (gau—ffydd) Heresy.
**Geuffyddiawg**, *a.* (geu—ffydd) Having false faith
**Geugred**, *s. f.—pl. t.* ion (gau—cred) False belief, superstition.
**Geugrediniaeth**, *s. m.* (geugred) False belief.
**Geugrefydd**, *s. f.—pl. t.* au (gau—crefydd) A false religion, heresy.
**Geugrefyddawl**, *a.* (geugrefydd) Heretical in faith
**Geulith**, *s. m.—pl. t.* iau (gau—llith) Heterodoxy, or false doctrine, false teaching.
**Geulithiad**, *s. m.* (geulith) A teaching falsely.
**Geulithiaw**, *v. a.* (geulith) To misinstruct.
**Geulithiawg**, *a.* (geulith) Falsely instructed.
**Geulun**, *s. m.—pl. t.* iau (gau—llun) A chimera.
**Geuluniaidd**, *a.* (geulun) Chimerical.
**Geuogrwydd**, *s. m.* (geuawg) Fallaciousness.
**Geurith**, *s. m.—pl. t.* iau (gau—rhith) A false appearance; illusion.

> I'w balchedd, unwedd anair,
> Melldith a geurith a gair.
>
> To her pride, of similar reproach, there will come a curse and *delusion*. *W. Middleton.*

**Geuwedd**, *s. m.* (gau—gwedd) A false appearance
**Geuwr**, *s. m.—pl.* geuwyr (gau—gwr) A false man, a deceiver, an impostor.
**Gewach**, *s. m.* (gaw) A lean one; a greedygut.
**Gewai**, *s. m.—pl.* geweiod (gaw) A lean person; a greedygut, a glutton.
**Gewyn**, *s. m.—pl. t.* au (gaw) A sinew, or tendon.
**Gewynaidd**, *a.* (gewyn) Of a sinewy nature.
**Gewynawg**, *a.* (gewyn) Sinewy, having tendons.
**Gewynawl**, *a.* (gewyn) Relating to the sinews.
**Gewynlys**, *s. m.* (gewyn—llys) Butcher's broom: also called *gieulys*.
**Gewynogrwydd**, *s. m.* (gewynawg) Sinewness.
**GI**, *s. f. r.—pl. t.* oedd. A slender fibre, a nerve.
**Giach**, *s. f.—pl. t.* od (gi) A snipe. It is also called *Ysnid* and *Ysniten*.
**Giau**, *s. pl. aggr.* (gi) Nerves; nervous system.

> Anaf yn ngiau, angeu yn ngwythi.
>
> Disease in the *nerves*, death in the veins. *Adage.*
>
> Y mae gwewyr i'm giau
> A allai hon ei lleiâu.
>
> There is a disease in my *nerves*, which she could assuage. *H. Heilyn.*

**Gid**, *s. f.—pl. t.* au (gi—id) A she-goat, a goat.
**Giden**, *s. f. dim.* (gid) A young she-goat, a kid.
**Gieuawg**, *a.* (giau) Having nerves, nervous.
**Gieuawl**, *a.* (giau) Relating to the nerves, nervous
**Gieuedd**, *s. m.* (giau) The nervous system.
**Gieulyd**, *a.* (giau) Affecting the nerves, nervous.
**Gieuyn**, *s. m. dim.* (giau) A nerve, a sinew.
**Gil**, *s. f.—pl. t.* ion (gi—il) A yielding, or producing; work, or action; fermentation.
**Gild**, *s. m.—pl. t.* iau (gil) What is produced.

> Gwnaethan' les o'u hanes hwyr,
> Gild y rhew, goldwyr awyr.
>
> They have done good by their evening tale, the *work* of the frost, marigold of the sky. *D. ab Gwilym, i'r ser.*

**Gildiad**, *s. m.* (gild) A producing, bringing out.
**Gildiaw**, *v. a.* (gild) To produce, to yield, to concede, to contribute.
**Gildiwr**, *s. m.—pl.* gildwyr (gild—gwr) A producer; one who brings to effect; a yielder, a conceder; a contributor.
**Gilydd**, *s. pl.* (cil) Mutual efficients, mutual selves, or other selves. *pron.* One another, each other.

> Gwahoddion y'ngwlad Fon fydd
> Gwedi gwyl i dai 'gilydd.
>
> There will be invitations in the island of Mon after the holiday, to the houses of *each other*. *L. G. Cothi.*

**Gin**, *s. m.—pl. t.* ion (gi—in) A pelt. *Gwlan gin*, pelt wool, plucked wool.
**Gingroen**, *s. f.* (gin—croen) The toadflax, a kind of stinking mushroom.
**Giniad**, *s. m.* (gin) A stripping off the skin.
**Giniaw**, *v. a.* (gin) To strip, to take off the skin, to pluck off the wool.
**Giniawl**, *a.* (gin) Stripping, or flaying.
**Giniedig**, *a.* (gin) Skinned, stript of covering.
**Giniwr**, *s. m.—pl.* ginwyr (gin—gwr) A flayer.
**Girad**, *s. m.* (irad) Mourning, lamentation. *a.* Piteous, lamentable, terrible.

> Cenidum hon Ruffudd, rudd ei rĕad,
> Ac ni rygant dyn dim mor irad.
>
> I sang this of Gruffudd, of ruddy course, a man had not sung any thing so *mournful*. *D. Benfras.*
>
> I ti cyffesaf——
> Gorwag feddyliau,
> Ceilweirus gredau,
> Oferion lyfau,
> Geiriau girad!
>
> To thee will I confess—very vain thoughts, fanciful creeds, and useless oaths, *dreadful* words! *D. ab Gwilym.*

**Giten**, *s. f. dim.* (gid) A she goat, a young goat.
**Gith**, *s. m. aggr.* (gi—ith) Corn cockle. It is also called *ydig*. *Sil.*
**Githran**, *s. m.* (gith—rhan) Honewort: also called *githrag*.
**Gla**, *s. m.* (lla) A brightness, or glistening.
**Glaf**, *s. m.* (gla) That is glistening, or smooth.
**Glafr**, *s. m.* (glaf) What produces a glistening, flattery, or false praise.
**Glafriad**, *s. m.* (glafr) A making fair, or glistening; a flattering.
**Glafru**, *v. a.* (glafr) To glaver, to flatter.
**Glai**, *s. m.* (gla) That is glistening, or smooth. *a.* Glistening, glittering, dazzling.
**Glaif**, *s. m.—pl.* gleifiau (llaif) A bill-hook, a crooked sword, a scimitar, a glaive. *Gleifrudd*, ruddy-glaived, *gleif-ruthr*, the assault of a glaive

> Gnawd it goch a glew glaif gan fwng gorwydd;
> Gnawd goches rodwydd ruad ostwng.
>
> Usual to thee to have the red and dashing *scimitar* over the man of the steed; habitual the ruddy plain of conflict silencing of shouts. *E. ab Mad. Rhaawd.*
>
> Da oedd ei gof mewn gofid,
> A'i laif yn gyflawn o lid.
>
> Collected was his mind in trouble, and his *glaive* teeming with wrath. *Iolo Goch.*

**Glain**, *s. m.—pl.* gleiniau (glai) What is pure, or holy; a pure one, an angel, a saint; what is bright, clear, or transparent; a gem, or jewel; a bead. *Glain nod*, a prime jewel; *glain cefn*, *gleiniau cefn*, the back bone, the joints of the back; *glain cawod*, *maen cawod*, or *maen gwlaw*, the rain stone, which was rolled to procure rain; *glain neidr*, *glain nadroedd*, *gleini nadroedd*

**maen glain**, or **maen magl**, snake stones, adder stones, or adder beads. The **main glain**, transparent stones, or adder stones, were worn by the different orders of bards, each having its appropriate colour; the blue ones belonged to the presiding bards, the white to the druids, the green to the ovates, and the three colours blended, to the disciples. There is no certainty that they were worn from superstition originally; perhaps that was the circumstance which gave rise to it. Whatever might have been the cause, the notion of their rare virtues was universal in all places where the bardic religion was taught.—It may still be questioned whether they are the production of nature or art. Be that as it may, they are always to be found in great numbers; and there are people who may be aptly called hunters, from whom they are to be had; but they insist on being credited, that the *Gleiniau* are only to be had at one season of the year; and that they are blown by a knot of snakes. *Ai chwythu y glain y maent?* what, are they blowing the *gem?* (applied to people laying their heads together in conversation.)

Can diffyrth Trindawd tri macwy o dan,
Tri meib glan glain ofwy——
Hyderwn.

As the Trinity preserved the three children from the fire, three angel-visited comely youths, let us confide. *Cynddelw.*

Dyfo mab Cynan——
Gan y glain gloew adef yn nef drefred!

May the son of Cynan be with the gloriously dwelling angel in the region of heaven! *Meilyr, i R. ab Cynan.*

Enlli——
Ynys glan y glain,
Gwrthddrych dadwyrain
Yo cain ynddi.

Enlli, the holy island of the saint, where there is a splendid picture of the resurrection. *Meilyr.*

**Glain**, *a.* (glai) Pure, holy;—clear, bright, or transparent. *Gleinion seintiau*, holy saints; *gleinion radau*, pure virtues.

**Glàn**, *s. f.—pl.* glènydd (llan) The brink, side, or bank of a river, or any water. *Glan y mor*, the sea shore; *glan yr afon*, the river side; *glan y dwfr*, the water side; *ar y lan*, on the shore. *Hala hi i'r lan*, send her up. *Dyfed.*

Cynt y cwrdd dau ddyn no dwy lan.

Sooner will two men meet than two *banks*. *Adage.*

**Glan**, *a.* (gla) Pure, holy, fair, clean, complete, entire. *Yr Ysbryd Glan*, the Holy Spirit; *dynes lan*, a handsome woman; *dillad glan*, clean clothes; *mae wedi darfod yn lan*, it is entirely gone; *dyna fyw yn lan*, there is fine living; *dyna hi allan yn lan*, that is very fine indeed.

Llaw lan, diogel ei pherchen.

The owner of a *clean* hand is safe. *Adage.*

Cydymddyddan a'm banwyl——
Newidiaw glan gusanau;
Cydchwerthin yn y min mau.

Mutually discoursing with my love; exchanging *pure* kisses; mutually smiling lip to lip. *D. ab Gwilym.*

**Glanâd**, *s. m.* (glan) A purifying; a cleansing.

**Glanâwl**, *a.* (glan) Abstergent, cleansing.

**Glanâu**, *v. a.* (glan) To purify, to hallow, to clear, to cleanse, to make clean, to clean.

**Glandeg**, *a.* (glan—teg) Comely and fair.

Ar bob twr yr oedd merch landeg aruthr yn sefyll.

Upon every tower there was a very *fair and comely* woman standing. *Elis Wyn, B. Cwsg.*

**Glaniad**, *s. m.* (glan) A landing, or a going ashore.

**Glaniaw**, *v. a.* (glan) To land, to go ashore.

**Glanwaith**, *a.* (glan—gwaith) Clean and neat; complete. *Lle glanwaith*, a tidy place.

**Glanweithdra**, *s. m.* (glan—weith) Cleanliness.

**Glanweithiad**, *s. m.* (glanwaith) A cleansing.

**Glanweithiaw**, *v. a.* (glanwaith) To make clean.

**Glanweithiawl**, *a.* (glanwaith) Abstergent.

**Glanweithus**, *a.* (glanwaith) Abstergent.

**Glas**, *s. m.—pl.* gleision (llas) A blue colour; a verdancy; a green, a green plat. *Glas y dorlan*, the king's-fisher; *glas y llwyn*, wild hyacinth.

Dar a dyfwys ar y glas,
Gwedi gwaedffrau gwyr a las;
Gwae wr wrth y bo a'i cas!

An oak hath grown upon the *green*, after the blood stream of men who were slain; woe to the man of whom there shall be cause of hate. *Robert tywysawg Norddmandi.*

Pan ddelo hon i'r bronydd,
I leisiaw dim ar las dydd,
Yr adar, yn llwyr odiaeth,
A gan yn fwyn gwynion fraeth.

When she comes to the lawns, to tune a lay at the *dawn* of morn, the birds most charmingly will briskly sing their eloquent complaints. *T. Prys, i'r gog.*

**Glas**, *a.* (llas) Blue, or azure; pale; gray; verdant, green; fresh, or young. *Brethyn glas*, blue cloth; *lliw glas*, blue colour; *wybren las*, a blue sky; *blodau gleision*, blue flowers; *arian gleision*, pale money, or silver; *wyneb glas*, a palid complexion; *maidd glas*, milky whey;—*march glas*, a gray horse; *caseg las*, a gray mare;—*gwellt glas*, green grass; *derwen las*, a green oak.—*Mae efe ar ei orau glas*, he is as busy as he can be.

Am ar y garafi cen ni'm carwy,
Nead lleddedig glan rhag glas fordwy,
Nead llawen awen, awel nend mwy!

Since I am doomed to love one that will not my love return, are not the shores oppressed before the *blue* torrent, is not the muse animated, is not the gale increased! *Cynddelw, i Efa f. Madawg.*

**Glasaidd**, *a.* (glas) Bluish, or rather blue.

**Glasar**, *s. m.* (glas—ar) Land newly turned up.

**Glasawg**, *a.* (glas) That is blue, livid, or pale.

**Glasbaill**, *s. m.* (glas—paill) The bloom of fruit.

**Glaschwerthin**, *s. m.* (glas—chwerthin) A half laugh, a simper, or smirk.

**Glaschwerthin**, *v. a.* (glas—chwerthin) To simper, to smile, to smirk.

**Glaschwerthiniad**, *s. m.* (glaschwerthin) A making a half laugh, a smirking.

**Glasdonen**, *s. f.* (glas—tonen) The scarlet oak.

**Glasdorch**, *s. f.—pl.* glasdyrch (glas—torch) A leveret, or young hare; a young wolf.

**Glasdwr**, *s. m.* (glas—dwr) Milk and water drink.

**Glasddydd**, *s. m.* (glas—dydd) The dawning day.

**Glasfaen**, *s. m.* (glas—maen) Blue stone, vitriol.

**Glasfaran**, *s. m.—pl. t.* edd (glas—maran) A samlet, a young salmon.

**Glasfedd**, *s. m.* (glas—medd) Green metheglin.

Glasfedd eu hancwyn, a'u gwenwyn fu.

*Green mead* was their dainty and their poison. *Aneurin.*

**Glasfor**, *s. m.* (glas—mor) The blue sea.

**Glasfyr**, *s. m.* (glas—myr) The blue ocean.

Gorfu gwynt gwaeddfan uch glan glasfyr.

The loud-voiced wind raged on the shore of the *blue ocean*. *O. Cyfeiliawg.*

**Glasgaen**, *s. f.—pl. t.* au (glas—caen) A blue covering, or armour.

**Glasgangen**, *s. f.—pl. t.* od (glas—cangen) A fish called a greyling.

**Glasgoch**, *s. m.* (glas—coch) Bluish red, or purple. *a.* Of a purple tinge, of a purple red.

**Glasgoed**, *s. pl. aggr.* (glas—coed) Green trees; young trees.

**Glasgoludd**, *s. pl. aggr.* (glas—colydd) The small guts or entrails.

**Glasgroen**, *s. m.* (glas—croen) A thin cuticle.

**Glasgyflaith**, *s. m.* (glas—cyflaith) Blue electuary; some kind of compound medicine.

Bolwst goludd o cyfyd, a glasgyflaith y meddygir.

If a cholic in the bowels should arise, with *blue electuary* it is to be cured. *Medd. Myddfai.*

**Glashaid**, *s. f.—pl.* glasheidiau (glas—haid) A young swarm.

**Glasiad**, *s. m.—pl. t.* au (glas) A tingeing with blue. *Glasiad y dydd*, the dawning of the day.

**Glaslan**, *s. f.—pl. t.* au (glas—llan) A green plat.

**Glaslanc**, *s. m.—pl. t.* iau (glas—llanc) A youth nearly grown up, a springal.

**Glaslanerch**, *s. m.—pl. t.* au (glas—llanerch) A green plat, or paddock.

**Glasloew**, *a.* (glas—gloew) Bluishly bright.

**Glaslwyn**, *s. m.—pl. t.* i (glas—llwyn) A green or verdant grove.

**Glaslyn**, *s. m.—pl. t.* au (glas—llyn) A blue pool.

**Glaslys**, *s. f.* (glas—llys) Woad. It is also called *y glas*, *y glaiarlys*, and *glasddur*.

**Glasnoden**, *s. f.* (glas—nod) Grass wrack; also called *gwellt y gamlas*.

**Glasog**, *s. f.—pl. t.* au (glas) An epithet for several internal vessels of animals; the liver; the kidney; the gizzard of a bird.

**Glasogo**, *s. f.* (glas—gogo) The flower of the flax plant.

**Glassan**, *s. f.—pl. t.* au (glas—san) A greyling.

**Glassanen**, *s. f. dim.* (glassan) A greyling.

**Glasresaw**, *s. m.* (glas—gresaw) A cold, or half welcome.

**Glasresawiad**, *s. m.* (glasresaw) A receiving coldly, or with a half welcome.

**Glasresawu**, *v. a.* (glasresaw) To receive, or entertain coldly.

Glasresawu a wnaynt ar y gwyr, a chynneu tan gwryag iddynt.

*They looked with afflicted commisseration* on the men, lighting for them fire with dry sticks. *Br. Rhonabwy—Mabinogion.*

**Glasresawus**, *a.* (glasresaw) Giving a ceremonious or half welcome.

**Glasrew**, *s. m.* (glas—rhew) A grey frost.

**Glasu**, *v. a.* (glas) To make blue; to become blue, to grow pale, or livid; to dawn; to become verdant, or green.

Gwelais waed ar llawr;
Rhag rhuthr cleddyfawr
Glesynt esgyll gwawr.

I have seen blood on the ground; from the assault of the swords they tinged with *blue* the wings of the dawn. *Taliesin.*

**Glaswawd**, *s. m.* (glas—gwawd) Affected praise.

Dygorelwi lesni o laswawd efred
Wrth a gawdd ei geudawd.

Thou wilt be calling forth paleness from the currency of *affected praise*, to such as is oppressed in heart. *Taliesin.*

**Glaswelw**, *s. m.* (glas—gwelw) A bluish paleness; pale blue. *a.* Of a bluish paleness; pale.

**Glaswelwder**, *s. m.* (glaswelw) A bluish paleness.

**Glaswelwi**, *v. n.* (glaswelw) To become pale.

**Glaswellt**, *s. m.* (glas—gwellt) Green grass. *Glaswellt y cwn*, *llygad y ci*, couch-grass.

**Glaswelltawg**, *a.* (glaswellt) Herbous, grassy.

**Glaswelltyn**, *s. m.* (glaswellt) A blade of grass.

**Glaswen**, *s. f.* (glas—gwên) A simper, a smirk.

**Glaswenawl**, *a.* (glaswen) Simpering, smirking.

**Glasweniad**, *s. m.* (glaswen) A simpering.

**Glaswenu**, *v. a.* (glaswen) To simper, to smirk.

**Glaswenwyn**, *s. m.* (glas—gwenwyn) Devil's bit.

**Glaswst**, *s. f.* (glas—gwst) The chlorosis. It is also called *Y glesni*.

**Glaswydd**, *s. pl. aggr.* (glas—gwydd) Green wood

**Glaswydden**, *s. f. dim.* (glaswydd) A green tree, a sapling.

**Glaswyn**, *s. m.* (glas—gwyn) A bluish white. *a.* Of a bluish white.

**Glaswyni**, *s. m.* (glaswyn) A bluish whiteness.

**Glaswynu**, *v. a.* (glaswyn) To make of a bluish white; to become of a blue white.

**Glaswyrdd**, *s. m.* (glas—gwyrdd) A bluish green. *a.* Of a bluish green.

**Glawdd**, *s. m.* (glaw) A lustre, glow, or splendour

**Gledd**, *s. m.—pl. t.* au (lledd) The face of the earth.

Pond oeddych yn wych dy wedd,
Por glwys-law'n porio glas-ledd!

Wert thou not of splendid appearance, covering with herbage the green *sod*, thou pure-coloured lord! *D. ab Gwilym, i'r haf.*

**Gleiad**, *s. f.—pl.* gleiaid (glai) A cake of dried cow dung for fuel; a blake.

**Gleiaden**, *s. f.* (gleiad) A blake, or casing.

**Gleifiad**, *s. m.* (glaif) The using a scimitar.

**Gleifiaw**, *v. a.* (glaif) To use the scimitar.

**Gleifiawg**, *a.* (glaif) Having a scimitar.

**Gleifiwr**, *s. m.—pl.* gleifwyr (glaif—gwr) One who uses a scimitar.

**Gleindid**, *s. m.* (glain) Purity, holiness, brightness

Achaws y daethant y grawys, wrth ddylyu o bawb fod yn lan yn yr amser gleindid hwnw.

The reason they came in lent was, that every body should be clean in that time of *purity*. *Welsh Laws.*

**Gleindorch**, *s. f.—pl.* gleindyrch (glain—torch) A circlet of beads; a bead necklace.

**Gleinfaen**, *s. m.—pl.* gleinfeini (glain—maen) Alabaster.

**Gleiniad**, *s. m.* (glain) A purifying; a hallowing; a brightening.

**Gleiniadur**, *s. m.* (gleiniad) A pair of snuffers.

**Gleiniaw**, *v. a.* (glain) To purify, to hallow, or to brighten.

**Gleiniawg**, *a.* (glain) Abounding with purity; full of brightness, or splendour.

**Gleiniawl**, *a.* (glain) Purifying, hallowing.

**Gleisiad**, *s. m.—pl.* gleisiaid, gleisiadau (glas) A salmon. The varieties are *maran*, *eawg*, *penllwyd*, *adfwlch*, *gaflaw*, *gwyniad y gog*, *gwyniad haf*, *brithyll y mor*, *brithyll du*, *brithyll brych*; the names for the fry are, *silod brithion*, *sil y gro*, and *brith y gro*.—*Gleisiad*, is a term also used for a draught of fishes.

**Gleisiadeg**, *s. f.* (gleisiad) A salmon net.

Gleisiadeg pedair ar ugaint a dal.

A *salmon net* its value is twenty-four pence. *Welsh Laws.*

**Gleisiedyn**, *s. m. dim.* (gleisiad) A salmon.

**Gleision**, *s. pl. aggr.* (glas) Whey cleared of the curd; any bluish liquid.

**Glendid**, *s. m.* (glan) Purity, holiness; fairness, comeliness, neatness, cleanliness.

**Glendyd**, *s. m.* (glan) Purity, holiness, fairness.

Mae'r gair dros Gymru i gyd
Hyd Lundain am dy lendyd.

Thy fame is over all Wales, and as far as London, for thy *beauty*. *R. Ddu.*

**Glesid**, *s. m.* (glas) Blueness, azure, paleness.

**Glesin**, *s. m.* (glas) What is blue; what is verdant; a greensward.

Yr aelwyd hon neus cudd glesin!
Yn myw Owain ac Elffin
Berwasai ei phair breiddiu.

This hearth is it not covered by the *greensward!* In the life time of Owain and Elphin, its cauldron boiled the prey. *Llywarch Hen.*

**Glesni**, *s. m.* (glas) Blueness, paleness, verdancy; bloom of fruit; the chlorosis.

**Gleswg**, *s. m.* (glas) Blueness, verdancy.

**Glesygen**, *s. f. dim.* (gleswg) A verdant spot.

**Glesyn**, *s. m. dim.* (glas) What is blue. *Glesyn y gauaf*, or *coedwyrdd*, the winter green; *glesyn y morlan*, sea lungwort; *glesyn y mynydd*, mountain bugle; *glesyn y wiber*, viper's bugloss; *glesyn y coed*, *yr olchenid*, bruise-wort, or bugle; borage.

**Glew**, *s. m.—pl. t.* ion (llew) A resolute, or persevering man; a hero.

> Yn mhob gwlad y megir glew.
>
> In every country a *hero* will be produced. *Adage.*
>
> Calodach glew no maen.
>
> A *resolute* man is harder than a stone. *Adage.*
>
> Tri glew Ynys Prydain: Grudneu, Henben, ac Aedenaw; eu cynneddfau oedd, nad eynt o gad namyn ar eu helorau.
>
> The three *resolute ones* of the isle of Britain: Greudneu, Henben, and Aedenaw; their principles were, that they would not go from battle except upon their biers. *Trioedd.*

**Glew**, *a.* (llew) Persevering, indefatigable; resolute, stout, brave, valiant; having penetration, sharp, acute. *Mae efe yn ddyn glew iawn*, he is a very provident man; *yr wyd ti yn o lew*, thou art pretty sharp, *a wyd ti yn o lew?* art thou pretty well?

> Bid drud glew, a bid rew bre.
>
> Let the *resolute* be daring, let the hill be icy. *Llywarch Hen.*
>
> Glew a fydd llew hyd yn llwyd.
>
> A lion will be *brave*, until he is gray. *Adage.*

**Glewa**, *v. a.* (glew) To make expedients, to shift; to acquire by sharp means. *Maent yn glewa pethau felly*, they scrape things together by that means.

**Glewai**, *s. c.* (glew) One who is sharp or greedy after any thing.

**Glewdaer**, *a.* (glew—taer) Resolutely ardent, or importunate.

**Glewder**, *s. m.* (glew) Perseverance; resolution, fortitude, stoutness, bravery, valour; sharpness, or cunning.

**Glewdid**, *s. m.* (glew) Perseverance; resolution, bravery, or valour; acuteness, or collectedness of mind.

**Glewdraws**, *a.* (glew—traws) Stoutly perverse.

**Glewddrud**, *a.* (glew—drud) Resolutely daring.

**Glewineb**, *s. m.* (glew) Bravery, resolution.

> Nid glewineb ond gloewineb.
>
> There is no *resolution* without perspicuity. *Catwg.*

**Glewyd**, *s. m.* (glew) Perseverance, bravery.

> Dychyfyd glewyd glew hyder.
>
> *Resolution* will produce valorous confidence. *Cyndelw.*

**Glin**, *s. m.—pl. t.* iau (gal—in) A knee. It is also called *pen lin* and *pen glin*. *Dos ar dy liniau*, go upon thy knees.

**Glinbraff**, *s. m. pl.* glinbreiffion (glin—praff) A Norfolk plover, a bird so called.

**Glingam**, *a.* (glin—cam) Having crooked knees, knock-kneed.

**Gliniad**, *s. m.* (glin) A kneeing, a kneeling.

**Gliniaw**, *v. a.* (glin) To kneel; to beat with the knee, to use the knees.

**Gliniawg**, *a.* (glin) Geniculated; having knees.

**Gliniogai**, *s. m.* (gliniawg) The cow-wheat.

**GLO**, *s. m. r.* What is black or glistening; coal. *Glo careg*, stone coal; *glo cwlm*, small coal, or culm; *glo rhinc*, or simply *rhinc*, the common coal; *glo spagog*, flaky coal.

**Glöaidd**, *a.* (glo) Of the nature of, or like coal.

**Globwll**, *s. m.—pl.* globyllau (glo—pwll) Coal pit

**Gloddest**, *s. f.—pl. t.* au (glawdd) A revel, carousal, or riotous living.

**Gloddest**, *v. a.* (glawdd) To revel, to carouse.

**Gloddesta**, *v. a.* (gloddest) To revel, to carouse.

**Gloddestawl**, *a.* (gloddest) Revelling, carousing.

**Gloddestgar**, *a.* (gloddest) Disposed to revel.

**Gloddestgarwch**, *s. m.* (gloddestgar) Fondness for revelling; riotousness of living.

**Gloddestiad**, *s. m.* (gloddest) A revelling, rioting.

**Gloddestrwydd**, *s. m.* (gloddest) Riotous living.

**Gloddestu**, *v. a.* (gloddest) To revel, to carouse.

**Gloddestwr**, *s. m.—pl.* gloddestwyr (gloddest—gwr) A reveller, a carouser.

**Gloe**, *s. m.* (glo) The state of being black or dark.

**Glöen**, *s. f.—pl. t.* au (glo) What shines. *Glöen byw*, a butterfly; a glow-worm.

**Gloes**, *s. f.—pl. t.* au (lloes) A pang, pain, or anguish; a swoon, or fainting fit; a qualm. *Gloesion angeu*, the pangs of death.

> Gloew oddef gloes lef a glas lain ar glun
> A glywir yn Mhrydain.
>
> A resolute suffering of the cry of *anguish*, with the blue blade on the thigh, will be heard in Britain. *Cynddelw.*
>
> Porthaist er pum oes gloes glas ferau;
> Pum well Celi celfyddodau.
>
> For the sake of five ages thou didst bear the *pang* of blue shafts; the five wounds of the mysterious one are mysteries. *Ein. ab Gwalchmai.*

**Gloesawd**, *s. m.* (gloes) The act of tormenting, or paining; a state of pain.

**Gloesi**, *v. a.* (gloes) To pain, to cause a pang, or anguish; to swoon, to faint.

**Gloesiad**, *s. m.—pl. t.* au (gloes) A causing a pang, or anguish; a fainting, or swooning.

**Gloesiaw**, *v. a.* (gloes) To pain, to cause a pang; to suffer a pang; to swoon; to be in a qualm; to vomit.

> Wyron Llaison a lesmoedd,
> Marw fu'r un mwyaf elroedd!
>
> The grand-children of Llaison *fainted*, the greatest that has been has died! *Ieu. Deulwyn.*

**Gloesiawg**, *a.* (gloes) Suffering anguish; having fainting fits or qualms.

**Gloesineb**, *s. m.* (gloes) A state of anguish.

**Gloesion**, *s. pl. aggr.* (gloes) Pangs; qualms; vomitings. *Y gloesion*, *y gloesion mawr*, *y gloesion lleuyg*, *gloesion bwrw*, the falling sickness.

**Gloeswg**, *s. m.* (gloes) A state of anguish or pain.

**Gloesygdawd**, *s. m.* (gloeswg) A state of pain.

**Gloesygiad**, *s. m.—pl. t.* au (gloeswg) A paining; a fainting, or swooning.

**Gloesygu**, *v. a.* (gloeswg) To cause pain; to pain; to be in pain, to ache; to swoon, or to faint.

**Gloesyn**, *s. m. dim.* (gloes) A pang, or smart; a fainting; a qualm.

**Gloesyndawd**, *s. m.* (gloesyn) Anguish, or aching; a fainting; a loathing.

**Gloesyni**, *s. m.* (gloesyn) Anguish; fainting,

**Gloesynu**, *v. a.* (gloesyn) To cause pain; to be in pain, to ache; to swoon, or to faint.

**Gloew**, *a.* (gloe) Bright, clear, transparent.

> Crefydd y Creawdyr a gyfrifed
> I Ruffudd, gloew udd a'i cudd tudwed.
>
> Belief in the Creator was accounted to Gruffudd a *splendid* sovereign whom the earth doth cover. *Meilyr.*
>
> Rhodded——
> I Fadawg fad gynnwys,
> Gan lain ynglan baradwys,
> Gan engylion gloewon glwys.
>
> To Madog has been given a happy reception, with saints in a hallowed paradise, with angels *bright* and pure. *Gwalchmai.*

**Gloewaidd**, *a.* (gloew) Of a bright, clear, or transparent nature.

**Gloewawl**, *a.* (gloew) Tending to brighten or to clear.

**Gloewdeg**, *a.* (gloew—teg) Brightly fair.

**Harneisiawl**, *a.* (harnais) Harnessing, a dressing.

**Harneisiwr**, *s. m.—pl.* harneiswyr (harnais—gwr) A harnesser.

**Haro**, *interj.* (har) Used to slight, or contempt.

Haro! nid fi yw y cyntaf; mae imi ddigon o gymmeiriaid.

*Well!* I am not the first; there are enow of companions for me. *Elis Wyn, B. Cwsg.*

**Haru**, *v. a.* (har) To raise over; to smother over; to appease, to tranquillize.

**Hatr**, *s. m.* (had) That enwraps, or covers.

**Hatrawl**, *a.* (hatr) Tending to cover over.

**Hatriad**, *s. m.* (hatr) A covering or dressing.

**Hatru**, *v. a.* (hatr) To cover over, to dress.

**Hau**, *v. a.* (ha) To strew over, to sow.

**Haul**, *s. m.—pl.* heuloedd (ha—ul) The sun.

**Haw**, *s. m.—pl. t.* od (ha) That is at the full, that is ripe; that is sluggish; an ass.

**Haw**, *a.* (ha) Being at the full, being fixt, sluggish, ripe.

**Hawcaid**, *s. f.—pl.* hawceidiau (hawg) A hod-full.

**Hawcwr**, *s. m.* (hawg—gwr) A hod-man.

**Hawd**, *s. m.* (hy—awd) A whisk, or quick motion, as the course or sweep of a fly. *Hawd clyr y gelwid cleddyf Olifer*, the whisk of the hornets was the name of the sword of Oliver: *Mae yr yd yn ei hawd*, the corn is in its time of earing. *Sil.*

Dwyn arf, fal aden eryr,
Ar hyd clun, a wyr hawd clyr.

To bear a weapon, like an eagle's wing, along the thigh, that describes the *hornet's whisk*. *Guto y Glyn.*

**Hawdd**, *a.* (hy—awdd) Feasible, easy, free from difficulty.

Hawdd cymmod lle bo cariad.

*It is easy* to reconcile where there is affection. *Adage.*

Ni wyr hawdd fod yn hawdd, onid ei hawdd yn anhawdd.

The *easy* knows not that it is *easy*, until what is *easy* becomes difficult. *Adage.*

**Hawddammawr**, *s. m.* (hawdd—ammawr) A gratulation; a welcome; good speed. *Hawddammawr iti*, a welcome to thee.

**Hawddammawr**, *v. a.* (hawdd—ammawr) To give gratulation, to welcome.

Hawddammawr——
Fis Mai! a'i leision dai doed;
Cyfaill cariad ac adar:
Cog a ferchogion a'i car.

Welcome the month of May! let it come with its green mansions; the friend of love, and the winged tribe: the cuckoo and the amorous ones adore it. *D. ab Gwilym.*

**Hawddammoredd**, *s. m.* (hawddammawr) Welcomeness; gratulation.

**Hawddammori**, *v. a.* (hawdd—ammawr) To give gratulation; to welcome.

Bum echdoe a doe i'w dai yn trigo;
Heddyw, i'm curo, i'm hawddammoraI.

I have been two days ago and yesterday in his mansions tarrying; to-day, to do me honour, *he would give a welcome*. *Gut. Owain.*

**Hawddammoriad**, *s. m.* (hawddammawr) A giving gratulation; a welcoming.

**Hawddfaidd**, *a.* (hawdd—baidd) Of a promptly daring disposition; venturesome.

**Hawddfeiddiad**, *s. m.* (hawddfaidd) A venturing easily, a daring without hesitation.

**Hawddfeiddiaw**, *v. a.* (hawddfaidd) To venture easily, or with alacrity.

Diriad ni hawddfaidd beddwch.

The mischievous *will* not *easily be at* peace. *Adage.*

**Hawddfeiddiawl**, *a.* (hawddfaidd) Apt to venture easily; apt to be intrepid.

**Hawddfod**, *s. m.* (hawdd—bod) Easy being; happiness; quietude.

**Hawddfryd**, *s. m.* (hawdd—bryd) Ease of mind, a pleasurable state of mind.

**Hawddfyd**, *s. m.* (hawdd—byd) Pleasure, or bliss.

Fy rhaglaw ar holl achosion, fy llywodraeth ddaiarawl, yn nesaf attaf fy hun, hi a elwir hawddfyd.

My guide upon all occasions, my earthly rule, next to myself, she is called *pleasure*. *Elis Wyn, B. Cwsg.*

**Hawddgar**, *a.* (hawdd—car) Amiable, or lovely.

Nid hawddgar ond difalch; nid difalch ond trugarawg; nid trugarawg ond deddfawl.

No one is *lively* but the void of pride; no one is void of pride but the merciful; no one is merciful except the moral. *Adage.*

**Hawddgarwch**, *s. m.* (hawddgar) Amiableness.

**Hawddged**, *a.* (hawdd—ced) Free of treasure.

**Hawddineb**, *s. m.* (hawdd) Facility, easiness.

**Hawddwaith**, *s. m.* (hawdd—gwaith) Easy work.

Elriawl a garawr hawddwaith.

The talkative loves *easy work*. *Adage.*

**Hawes**, *s. f.—pl. t.* od (haw) A she ass.

**Hawg**, *s. m.—pl.* hogion (hy—awg) Completeness, fulness; perfection, a space of time; a good while; an age; also a box, shuttle, or hod, also a hawk. *Ni ddoi yma yr hawg*, thou wilt not come here for a good while; *Nid ei yno yr hawg byd*, thou wilt not go there this great while: *Hawg glo*, a coal skuttle; *hawg gardd*, a garden box.

Addwyndra bo'n ddawn dra bych;
Hawg yr hydd a gyrhaeddych.

Let kindness be the virtue whilst thou art; the *age* of the stag mayest thou attain. *T. Aled.*

Llaw a ddyd hwnt lladdiad hawg
Lle bwrw ei gas.——

A hand that shall make the attack of the *hawk* there, where he shews his anger. *H. Arwystl.*

**Hawg**, *adv.* (hy—awg) Awhile, for some time.

Pan ydd ai——
Was dewr hy, i west yr hawg,
At Dudyr!

Why, bold and gallant youth, wilt thou go on a visit *a long while* to Tudor! *D. ab Gwilym.*

Na choller hyn o'ch llaw'r hawg,
O ddrwg gynghor ddar gangawg.

Let this not be lost from your hands a *while*, through evil councils, ye branching oaks. *T. Aled.*

Annoeth yw hyn, weithian hawg,
A doeth wyd a thawedawg.

This is unwise, now *awhile*; and thou art wise and silent. *T. Aled.*

**Hawiad**, *s. m.* (haw) A becoming full, a ripening; a becoming fixed, or sluggish.

**Hawiaw**, *v. a.* (haw) To render full, or mature; to fix upon, to become fixed. *Hawiaw ar beth*, to be intent upon a thing.

**Hawl**, *s. f.—pl.* holion (hy—awl) A claim, a suit, process, or cause. *Colli hawl*, to lose a suit; *hawl ddefnyddiawl*, a real action; *hawl ir*, a pending action; *hawl wywedig*, a cause that lies dormant; *hawl drablwyddyn*, a cause beyond the year, or after the time limited; *gyru hawl*, to carry on a suit; *mae y llog gymmaint a'r hawl*, the interest is as much as the claim.

Ni ddylyir gwarandaw yr un o'r tair hawl hyn, yn amser caeth cyfraith, am dir a daiar; sef—hawl priodolder, a hawl dadenhudd, a hawl ymwrthryn.

Neither of these three *suits* respecting land ought to be heard in the time of law vacation; namely, a *suit* of right, a *suit* of investigation, and a *suit* of resistance. *Welsh Laws.*

**Hawlblaid**, *s. f.—pl.* hawlbleidiau (hawl—plaid) A plaintiff, a claiming party.

**Hawlfainc**, *s. f.—pl.* hawlfeinciau (hawl—mainc) A tribunal, a seat of justice.

**Hawlwr**, *s. m.—pl.* hawlwyr (hawl—gwr) A claimant, an enquirer after, a plaintiff.

**Hawn**, *a.* (hy—awn) Eager, brisk, full of activity.

**Hawni**, *s. m.* (hawn) Eagerness; briskness, alacrity; slight work; loose threads, or ravelines, flue, or down.

**Hawni**, *v. a.* (hawn) To run over, to stitch slightly. *Nid ydyw ond wedi ei hawni*, it is only slightly stitched.

**Hawniad**, *s. m.* (hawn) A doing over slightly; a basting, or stitching together slightly.

**Hawnid**, *s. m.* (hawn) Eagerness, briskness, hasty. *Gwaith hawnid*, hasty or careless work.

> Meingan weddeidd-wan, huan hawnid,
> Mynygl-wen yn llen yn lle rhenid gwyrdd.
>
> The slender fair one of delicate air, the luminary *of vivacity*, with a white neck under a veil, where green is distributed. *Iorw. Fychan.*

**Hawnt**, *s. m.—pl. t.* iau (hawn) Alacrity, eagerness; briskness, vivacity, liveliness.

**Hawntiad**, *s. m.* (hawnt) An encouraging, or animating; a becoming brisk, or lively; encouragement.

**Hawntiaw**, *v. a.* (hawnt) To encourage, to animate; to become eager; to become animated.

**Hawntiawg**, *a.* (hawnt) Full of alacrity, brisk.

**Hawntiawl**, *a.* (hawnt) Tending to make brisk.

**Hawntrwydd**, *s. m.* (hawnt) Briskness, vivacity.

**Hawntus**, *a.* (hawnt) Full of alacrity, animated, brisk. *Nid wyf hawntus*, I am not hearty.

**Hawr**, *s. m.—pl.* horion (hy—awr) A spread out.

**Hawr**, *a.* (hy—awr) Tending to spread, or distend

**Hawriad**, *s. m.* (hawr) A spreading out.

**Hawru**, *v. a.* (hawr) To spread out; to dilate.

**Haws**, *s. m.* (hy—aws) Ease. It is also used for the *comparative* hawddach. More feasible, easier

> Haws cadw nog olrhain.
>
> It is *easier* to keep than to hunt after. *Adage.*
>
> Haws dadleu o goed nog o gastell.
>
> It is *easier* to argue from a wood than from a castle. *Adage.*

**Hawsâad**, *s. m.* (haws) A making easy, an easing.

**Hawsach**, *a.* (*comparative of* haws) More easy.

**Hawsaf**, *a.* (*superlative of* haws) Most easy.

**Hawsâu**, *v. a.* (haws) To facilitate; to give ease.

> A saith awr o roes hithau,
> Em hoew, o serch, i'm hawsau.
>
> And seven hours she also gave (the sprightly jewel) of love, *to give me ease.* *Iedo Aerdrem.*

**Hawsder**, *s. m.* (haws) Feasibleness, easiness.

**Hawsdra**, *s. m.* (haws) What is practicable.

**Hawsedd**, *s. m.* (haws) Freedom from difficulty.

**Hawsineb**, *s. m.* (haws) Practicability.

**HE**, *s. f. r.* Aptness for motion, a going.

**He**, *a.* (*f. of* hy) Bold, daring, adventurous. *Arf he*, a daring weapon.

**Hëad**, *s. m.* (he) A sowing; dissemination.

**Hear**, *a.* (he—ar) Apt to produce a sound, noisy.

> Araf haf, hear gweilgi.
>
> Calm is the summer, the torrent is *noisy*. *Gwalchmai.*

**Hëawd**, *s. m.—pl.* hëodydd (he) A drifting.

> Adarwr o rew dwyrain,
> Ne heawd eiry, gawawd gain.
>
> A fowler from the eastern frost, of the hue of the *drift* of snow, a fair shower. *D. ab Gwilym.*

**Heb**, *s. m.—pl. t.* ion (hy—eb) A pass, or utterance; speech.

**Heb**, *prep.* (hy—eb) Without, void of, destitute of, in a state of absence from. *Heb arian, ac heb werth*, without money, and without price: *heb ado un*, without leaving one: *heb ohir*, without delay:—*Hebwyf, hebddwyf, hebof*, and *hebddof*, without me: *hebod, hebot, hebddod, hebddot*, without thee: *hebo, hebddo*, without him, without it: *hebi, hebddi*, without her: *hebom*, or *hebddom*, without us: *heboch, hebddoch*, without you: *hebynt, hebddynt*, without them.

> Achaws heb achaws o hono.
>
> A cause *without* a cause of it. *Adage.*
>
> Ethyw corn heb ysgyfarn.
>
> The horn is become *without* an ear. *Adage.*
>
> Heb Dduw heb ddim, a Duw a digon.
>
> *Without* God *without* any thing, with God with (having) enough *Adage.*
>
> Drwg yw dryg-was, gwaeth yw bod hebddo.
>
> Bad is a bad servant, worse to be *without him*. *Adage.*

**Heb**, *adv.* (hy—eb) Without; by, beside.

> Mal ydd oeddynt yn myned heb gastell a elwid Espartanum, eu cyrchu a orug Brutus.
>
> As they were going *by* a castle that was called Espartanum, Brutus attacked them. *Gr. ab Arthur.*

**Hebawl**, *a.* (heb) Uttering, relating to utterance.

**Heber**, *s. m.—pl.* hebyr (heb) That serves for locomotion; a foot.

**Hebgor**, *s. m.* (heb—cor) The dispensing with.

**Hebgor**, *v. a.* (heb—cor) To put aside, to omit, to leave as unnecessary, to spare, to dispense with, or to be able to do without.

> Na fydd ry fwythus lle galler dy hebgor.
>
> Be not over nice where thou mayest be dispensed with. *Adage.*

**Hebgoradwy**, *a.* (hebgor) Dispensable.

**Hebgorawl**, *a.* (hebgor) Being dispensed with.

**Hebgoredig**, *a.* (hebgor) Being dispensed with.

**Hebgori**, *v. a.* (hebgor) To dispense with.

**Hebgoriad**, *s. m.* (hebgor) A dispensing with.

**Hebiad**, *s. m.* (heb) An uttering, utterance.

**Heblaw**, *prep.* (heb—llaw) Beside; over and above. *adv.* Besides, moreover.

**Heboca**, *v. a.* (hebog) To hunt with a hawk.

> Heboca, a hela bydd,
> A phryf gwyllt, ffriwiau gelltydd.
>
> He is wont to be *hawking* and hunting the sides of the cliffs after the wild beast. *R. Cyffin.*

**Hebog**, *s. f.—pl. t.* au (heb) A hawk. *Hebog chwyldro*, a gerfalcon: *hebog dramor*, a peregrine falcon: *hebog wlanawg*, a lanner: *hebog marthin*, a goshawk: *hebog yr ehedydd*, a hobby hawk.

> Y penhebogydd a ddyly ei anrhydeddu o dair anrheg, y dydd y lladdo ei hebog un o dri aderyn; ai bwn, ai creyr, ai garan.
>
> The chief falconer ought to be honoured with three presents, the day whereon his *hawk* shall kill one of three birds: either a bittern, or a heron, or a stork. *Welsh Laws.*
>
> Haws gwneuthur hebog o'r barcutan no gwneuthur talawg yn ddysgedig.
>
> It is easier to make a *hawk* of a kite than to make a learned man of a bumkin. *Gr. ab Arthur.*

**Hebogaidd**, *a.* (hebog) Being hawk-like.

**Heboglys**, *s. m.* (hebawg—llys) Hawkweed.

**Hebogydd**, *s. m.—pl. t.* ion (hebog) A hawker.

> Nid yf yr hebogydd namyn tri chornaid yn y neuadd, rhag bod gwall ar ei hebogau drwy feddawd: llestri hagen a gyrfyll ei wirawd yn y llys.
>
> The *falconer* drinks no more than three hornfulls in the hall, lest his hawks should be neglected through drunkenness: nevertheless vessels shall hold his liquor in the court. *Welsh Laws.*

**Hebogyddiaeth**, *s. m.* (hebogydd) Hawking.

**Hebogyn**, *s. m. dim.* (hebog) A laneret.

**Hebred**, *s. f.* (heb—rhed) An external course; a state of evil, in the system of transmigration; it is otherwise called *Abred*. *a.* Being in an evil state.

> A gwae ni o'r naid i'n rhyddoded,
> Yn rhygnawd pechawd, jall gynnyred!
> Rhag ein twyllaw byth o beth hebred,
> I golli teithi tanc afneued.
>
> And woe to us the step wherein we have been placed, under the impulse of sin, an untoward course! lest we be deceived for ever by a *devious* thing, to lose the virtues of a wished-for peace. *Gwalchmai.*

**Hebredawl**, *a.* (hebred) Of the circle of evil.

Hebrediad, *s. m.* (hebred) A going the circle of inchoation or the state of evil.

Hebredu, *v. a.* (hebred) To go in the course of evil, to traverse the circle of evil.

Hebrwng, *s. m.* (heb—rhwng) A mission.

Hebrwng, *v. a.* (heb—rhwng) To go with, to conduct, to accompany, to send onward; to carry, or to convey. *Hebrwng hawl*, to carry on a suit; *hebrwng iawn*, to give satisfaction; *hebrwng lledrad i wrtho*, to get clear of theft.

Hebryngad, *s. m.* (hebrwng) A sending.

Hebryngadwy, *a.* (hebrwng) That may be sent, or conducted; that may be conveyed.

Hebryngawl, *a.* (hebrwng) Missive, sending.

Hebryngedig, *a.* (hebrwng) Being conducted.

Hebryngiad, *s. c.—pl.* hebryngiaid (hebrwng) A conductor, an accompanier, a sender.

> Ni rusia dim rhagot oni ddelych i'm cyfoeth; a myfi a fyddaf hebryngiad arnat.
>
> Nothing shall start before thee until thou comest into my dominion; and I will be a *conductor* to thee.
> *H. P. P. Dyfed—Mabinogion.*

Hebryngu, *v. a.* (hebrwng) To go with, to conduct, to accompany; to convey.

Hebryngwr, *s. m.—pl.* hebryngwyr (hebrwng—gwr) A conductor, an accompanier.

Hebryngydd, *s. m.—pl. t.* ion (hebrwng) A sender; a conductor, a conveyer.

Hebryngyddes, *s. f.—pl. t.* au (hebryngydd) A female sender; a female conductor.

Hebu, *v. a.* (heb) To utter, to speak, to say. *Hebai efe*, quoth he; *heba Meilyr*, says Meilyr; *ni heb a ohybych*, none will utter what thou shalt utter.

> Dy fardd da, dothyw i'th oddeu,
> Dy far gwrdd gerddyfyn i fadden;
> Ti hebof nid hebu oedd tau;
> Mi hebod ni hebaf finnau.
>
> Thy good bard, he is come to thy purpose, thy ardent profound anger to do away; thee without me, not *speaking* were thine. I without thee, *I do* not *speak* neither. *Cynddelw, i'r argl. Rhys.*

Hebus, *a.* (heb) Tending to utter; dicacious.

Hebwr, *s. m.—pl.* hebwyr (heb—gwr) One who utters; a sayer.

Hebydd, *s. m.—pl. t.* ion (heb) An utterer.

Heciad, *s. m.—pl. t.* au (heg) A hopping.

Hecian, *v. a.* (heg) To halt, to hop, to limp.

Heciwr, *s. m.—pl.* hecwyr (heg—gwr) One who hops, or goes haltingly.

Hecyn, *s. m. dim.* (hac) A little notch, or cut.

Hecynu, *v. n.* (hecyn) To make a notch.

Hed, *s. m.—pl. t.* oedd (hy—ed) A flight; or the act of flying; also a hat.

Hedawg, *a.* (hed) Having power to fly; flying.

Hedawl, *a.* (hed) Volant; apt to fly; flying.

Hedeg, *s. m.* (hed) A flight, or a flying.

Hedeg, *v. a.* (hed) To fly; also to shoot out, or to ear, as corn.

Hedegawg, *a.* (hedeg) Flying, or that flies.

Hedegawl, *a.* (hedeg) Volant, flying.

Hedegu, *v. a.* (hedeg) To fly, to move by wings.

Hedhynt, *s. f.* (hed—hynt) A flying course.

Hediad, *s. m.—pl. t.* au (hed) A flying, a flight.

Hedin, *a.* (hed) Volatic, volant, volatile.

Hedinaw, *v. a.* (hedin) To volatilize.

Hediniad, *s. m.* (hedin) A volatilization.

Hedion, *s. pl. aggr.* (hed) Things that fly, what fly with the wind; light corn, chaff.

Hedlam, *s. m.—pl. t.* au (hed—llam) A flying leap

Hedlamu, *v. a.* (hedlam) To take a flying leap.

Hednaid, *s. f.* (hed—naid) A flying leap.

Hedwr, *s. m.—pl.* hedwyr (hed—gwr) A flier.

Hedydd, *s. m.—pl. t.* ion (hed) A flier; the lark; otherwise called *ehedydd*, *uchedydd*, *meillierydd*. *Hedydd cribawg*, *hedydd copawg*, a crested lark; *cor-hedydd*, a titlark; *hedydd*, sea rocket.

Hedyn, *s. m. dim.* (hâd) One seed, a grain of seed

Hedd, *s. m.* (hy—edd) That glides onward; peace, calm, tranquillity.

Heddaberth, *s. m.—pl. t.* au (hedd—aberth) A peace-offering.

Heddawg, *a.* (hedd) Having peace, tranquil.

Heddawl, *a.* (hedd) Tranquil, peaceable.

Heddi, *s. m.* (hedd) The present day, this day. *adv.* To day, on this day.

Heddiad, *s. m.* (hedd) A making peace, a calming

Heddswyddawg, *s. m.*——*pl.* heddswyddogion (hedd—swyddawg) A peace-officer.

Heddu, *v. a.* (hedd) To make peace, to tranquillize, to pacify.

Heddus, *a.* (hedd) Pacific, quiet, or tranquil.

Heddusaw, *v. a.* (heddus) To make peaceful, to become pacific.

Heddusiad, *s. m.* (heddus) A making pacific.

Heddusrwydd, *s. m.* (heddus) Peaceableness.

Heddwch, *s. m.—pl.* heddychau (hedd) Peace, quietness; tranquillity.

> Ni ddichon, mewn heddychau,
> Na bo doeth y neb a dau.
>
> In *peace-makings*, he that shall be silent cannot be less than wise. *H. Cae Llwyd.*
>
> Tri anngeneddyl beirdd Ynys Prydain: amlygu gwir, a'i ddosbarth: cynnal cof mawl am a fo daionus a rhagor, a gyru heddwch ar ddifrawd ac anrhaith.
>
> The three necessary duties of the bards of the isle of Britain: to manifest the truth, and to declare it; to maintain a memorial of praise for what shall be good and excellent; and to make *peace* prevail over anarchy and devastation. *Barddas.*

Heddwg, *s. m.* (hedd) Tranquillity, peace.

Heddy, *s. m.* (hedd) This day. *adv.* To day.

Heddychawd, *s. m.* (heddwch) The act of making peace, pacification; tranquillization.

Heddychawl, *a.* (heddwch) Peaceable, tranquil.

Heddychiad, *s. m.* (heddwch) A pacifying; a calming, a tranquillizing; pacification.

Heddychiadawl, *a.* (heddychiad) Pacificatory.

Heddychiadu, *v. a.* (heddychiad) To pacify.

Heddychlawn, *a.* (heddwch) Peaceful, peaceable.

Heddychlondeb, *s. m.* (heddychlawn) Peacefulness, tranquillity.

Heddychlonedd, *s. m.* (heddychlawn) Quietness.

Heddychloni, *v. a.* (heddychlawn) To make quiet.

Heddychlonrwydd, *s. m.* (heddychlawn) Peacefulness, quietness.

Heddycholdeb, *s. m.* (heddychawl) Peaceableness

Heddychu, *v. a.* (heddwch) To make peace, to pacify, to appease, to tranquillize.

> Gwedi darfod iddi hi, trwy igion, heddychu ei feddwl a orug Bran,—ac ygyd a'i fam dawed parth ag at ei frawd.
>
> After she had made an end, through sighing, Bran did *tranquillize* his mind; and with his mother he came towards his brother.
> *Gr. ab Arthur.*

Heddychus, *a.* (heddwch) Peaceable, or pacific.

Heddychusaw, *v. a.* (heddychus) To render pacific; to become peaceable.

Heddychusawl, *a.* (heddychus) Of pacific tendency

Heddychwr, *s. m.—pl.* heddychwyr (heddwch—gwr) A peacemaker; also a liberated person.

Heddygawl, *a.* (heddwg) Tending to tranquillize.

Heddygedig, *a.* (heddwg) Being tranquillized.

Heddygedigawl, *a.* (heddygedig) Pacificatory.

Heddygiad, *s. m.* (heddwg) A tranquillizing.

Heddygu, *v. a.* (heddwg) To tranquillize.

Heddyngnad, *s. m.—pl.* heddyngnaid (hedd—yngnad) A justice of the peace.

**Heddyngneidiaeth**, *s. m.* (heddyngnad) The office of a justice of the peace.

**Heddyw**, *s. m.* (hedd) The day present, this day. *adv.* To day, on this day.

> Sy ddrwg sy heddyw ar wir;
> Ar un da ni wrandewir.
>
> That is evil is *to day* in the right; the one that is good will not be listened to. *T. Aled.*

> Heddyw nid ydyw y dydd!
>
> *To day* that day is not! *D. ab Gwilym.*

**Hefal**, *a.* (he—mal) Apt to be like; semblable.

**Hefeliad**, *s. m.* (hefal) A making similar.

**Hefelig**, *a.* (hefal) Having a similitude.

> Lluniaf gant moliant, mawl hefelig,
> I Fangor rhagor rhag Celliwig.
>
> I will form a hundred panegyrics, of *similar* praise, to Bangor more excellent than Celliwig. *Gronwy Gyriawg.*

**Hefelwch**, *s. m.* (hefal) Similitude, semblance.

**Hefelychadwy**, *a.* (hefelwch) That may be made like, or similar.

**Hefelychawl**, *a.* (hefelwch) Tending to resemble.

**Hefelychedig**, *a.* (hefelwch) Being likened.

**Hefelychedigaeth**, *s. m.* (hefelychedig) The act of making similar, a making a resemblance.

**Hefelychiad**, *s. m.* (hefelwch) A likening.

**Hefelychu**, *v. a.* (hefelwch) To imitate, to do in like manner; to liken, to compare.

**Hefelydd**, *s. m.—pl. t.* ion (hefal) That is like, or similar; an equal.

> Nid maeth mam mab ei hefelydd.
>
> A mother will not nurse a boy his *equal.* *D. Ll. Mew.*

> Am gann, ni fu, ni fydd,
> Hoew ei fawl, ei hefelydd.
>
> For singing, there has not been, there will not be of brisk fame, his *equal.* *Gronwy Owain.*

**Hefelydd**, *a.* (hefal) Similar, like, semblable.

> Mordaf hefelydd, rhydd ym rhoddai.
>
> *Like* Mordav, freely he would give to me. *Cynddelw.*

**Hefelyddawl**, *a.* (hefelydd) Imitative; likening.

**Hefelyddiad**, *s. m.* (hefelydd) An imitating.

**Hefelyddu**, *v. a.* (hefelydd) To imitate, to liken.

**Hefin**, *a.* (haf) Estival, summer. *Alban hefin*, summer solstice; *Alban arthan*, the winter solstice.

**Hefrin**, *a.* (hafr) That is spread out, or incompact.

> Tri chaled byd: maen callestr, corn bydd hefrin, a chalon mab y crinwas.
>
> The three hardest things in the world: a flint stone, the horn of a *geld* stag, and the heart of the miser. *Trioedd.*

**Hefyd**, *adv.* (haf) Additionally; also, likewise, too. *conj.* In addition; also, likewise, moreover, too.

> Rhaid imi gynllyfan o farf y gwr a weli di rhaco; ac ni thycia hefyd onid yn fyw y tynir a chyllellbrennau.
>
> A leash is necessary for me from the beard of the person whom thou seest yonder; and it will not serve *likewise* without being plucked with wooden tweezers when he is alive. *H. Culhwch—Mabinogion.*

**Hefys**, *s. m.* (haf) A smock, or a shift.

**Heg**, *s. f.* (hy—eg) That has aptness to expand.

**Hegab**, *s. f.* (heg—ab) A grasshopper.

**Hegl**, *s. f.—pl.* heglau (heg) A leg, a shank. *Hegl gam*, the plough-staff.

**Heglawg**, *a.* (hegl) Having limbs; large limbed.

**Hegr**, *s. m.* (heg) That conduces to quickness.

**Heiad**, *s. m.* (hai) An impelling, or egging.

**Heiaw**, *v. a.* (hai) To impel, to egg onward.

**Heiawg**, *a.* (hai) Tending to egg onward.

**Heibio**, *adv.* (heb) By, beside, aside, to one side. *Dyna fo yn myned heibio*, there he is going by; *bwrw heibio*, to throw aside. *Deaf yn ol heibio chwi*, I shall come back by you. *Dyfed.*

> Y pethau a ddelont rhagllaw, ni wyr yr engylion ddim o honynt eithr a gynnullont o'r pethau a aethant heibio, a chymmaint a ganiatto Duw iddynt wybod.
>
> The things that shall come in future, the angels know nothing of them except what they shall collect from the things that are gone *by;* and as much as God shall permit for them to know. *Elucidarius.*

> Llawer gair yn wynt a â heibio.
>
> Many a word passes *away* like the wind. *Adage.*

**Heidiad**, *s. m.* (haid) A swarming, a going in swarms; a flocking together.

**Heidiaw**, *v. a.* (haid) To swarm, to flock together; to be full of.

> Heidiasant i dy y butain.
>
> *They have flocked* to the house of the harlot. *Jeremiah 5. 7.*

**Heidiawg**, *a.* (haid) Abounding with swarms.

**Heidiawl**, *a.* (haid) Tending to swarm, swarming.

**Heidda**, *v. a.* (haidd) To collect or to beg barley.

> Gwelais ddyn goiaes o dda,
> Dannedd-hir, doe yn heidda.
>
> I saw a person scanty of good, with long teeth, yesterday *begging barley.* *Ieu. Ddu y Bilwg.*

**Heiddaw**, *s. m.* (haedd) Attainment; merit.

> E gyrhaedd fawl, gwrawl fodd;
> A'r heiddaw a'i cyrhaeddodd.
>
> He will obtain fame in a manly way; and the *merit* has reached him. *Sim. Fychan.*

> Hir bod heb——
> Heliwr hydd, hael o'r heiddaw.
>
> It is tedious to be without the pursuer of the stag, liberal of his *acquisition.* *Sim. Fychan.*

**Heidden**, *s. f. dim.* (haidd) A grain of barley.

**Heiddiad**, *s. m.* (haedd) An attaining; acquisition

**Heiddiaw**, *v. a.* (haedd) To obtain; to merit.

**Heiddiawl**, *a.* (haedd) Meritorious.

**Heiddwch**, *s. m.* (haedd) Attainment, acquisition.

**Heiddyd**, *s. m.* (haedd) Attainment; merit.

**Heiedig**, *a.* (hai) Tending to egg on; encouraging.

**Heiernin**, *a.* (haiarn) Ferreau, like iron.

> Cadwyn heiernin
> Am ben fy nenlin.
>
> An *iron* chain around my knees. *Aneurin.*

**Heigiad**, *s. m.* (haig) A producing in shoals.

**Heigiaw**, *v. a.* (haig) To bring forth in shoals; to produce abundantly; to shoal.

> Heigied y dyfroedd.
>
> *Let* the waters *bring forth abundantly.* *Genesis* i. 20.

> Yr afon a heigia o lyffaint.
>
> The river shall *teem* with frogs. *Exodus* viii. 3.

**Heigiawg**, *a.* (haig) Abounding with shoals.

**Heigiawl**, *a.* (haig) Apt to produce in shoals.

**Heilgorn**, *s. m.—pl.* heilgyrn (hail—corn) A drinking horn.

**Heiliad**, *s. m.* (hail) An acting bounteously; a ministring, or attending; a serving of liquor.

**Heiliaw**, *v. a.* (hail) To give abundantly, or bountifully; to minister, to serve at a feast; to serve or wait upon guests; to pour liquor. *Heiliaw gwin*, to serve wine; *heiliaw ar y brenin*, to wait upon the king.

> Gwell tolliaw no heiliaw.
>
> It is better to retrench than *to lavish.* *Adage.*

> Llary llawroddiad llad a llwyrder;
> Llonydd yw gantaw heiliaw haelder.
>
> The mild munificent one of grace and perfection, pleased is he *to deal generously.* *Cynddelw. i'r argl. Rhys.*

**Heiliawd**, *s. m.* (hail) The act of conferring a bounty; a service at a feast.

**Heiliawg**, *a.* (hail) Having service; waited on.

**Heiliedig**, *a.* (heiliad) Being served, or attended.

**Heilin**, *a.* (hail) Bounteous, generous, free.

**Heiliog**, *s. f.—pl. t.* au (hail) A capital of a column.
**Heilydd**, *s. m.—pl. t.* ion (hail) A servitor.
**Heilyddiaeth**, *s. m.* (heilydd) Office of a servitor.
**Heilyn**, *s. m.—pl. t.* ion (hail) A servitor; a cupbearer, a butler, a waiter.

> Heilyn achubiad pob bro.
>
> A *cupbearer* is the saviour of every country. *Aneurin.*

**Heilyniaeth**, *s. m.* (heilyn) The vocation of a cupbearer or butler.
**Heini**, *s. m.* (hain) Fulness of motion, or life; briskness. *a.* Being brisk, or lively.
**Heiniad**, *s. m.* (hain) A pervading with volatility, a making full of life; a swarming with vermin.
**Heiniar**, *s. m.* (hain) A crop, or produce of the year.

> Hoen eiry cain heiniar coll.
>
> Of the hue of the fair snow is the *crop* of the hazels. *D. ab Gwilym.*
>
> A rhan a gaiff o'r heiniar,
> A'r ŷd a dyfoedd o'r ar.
>
> And a share he shall have of the *produce*, and the corn that has grown from the soil. *Guto y Glyn.*

**Heiniardy**, *s. m.—pl. t.* au (heiniar—ty) Granary.
**Heiniaw**, *v. a.* (hain) To act with volatility, to pervade; to swarm, or to be full of. *Mae dy wely yn heiniaw o chwain*, thy bed is swarming with fleas. *Sil.*
**Heiniawg**, *a.* (hain) Teeming with, pervaded.
**Heiniaw**, *a.* (hain) Volatile; pervasive.
**Heiniedig**, *a.* (hain) Being pervaded; swarming.
**Heinif**, *a.* (hain) Full of vivacity, lively, cheerful, brisk.

> Teithi cerddorion cynnelwi o haelon:
> Rhan rhen rad gordden gwaith heinif.
>
> The talents of the minstrels are for the portraying of generous ones; the Lord will dispense supreme grace over the *cheerful* task. *Meugant.*
>
> Estyn llieiniau heinif
> Ar hyd bwrdd, lle ymwrdd llif.
>
> Spread the cloth *briskly* over the table, where the flowing liquor makes a tumult. *T. Prys.*

**Heinifdra**, *s. m.* (heinif) Vivacity, briskness.
**Heinniad**, *s. m.* (haint) A causing a contagion.
**Heinniaw**, *v. a.* (haint) To cause a contagion.
**Heinniawg**, *a.* (haint) Having a contagion.

> Da fu Rhun, ei hun fu heinniawg o serch;
> Da fu Rhydderch, gwr ardderchawg.
>
> Good was Rhun, who was himself *diseased* from love; good was Rhydderch, a dignified man. *Iolo Goch.*

**Heintddwyn**, *a.* (haint—dwyn) Pestiferous.
**Heintfan**, *s. f.—pl. t.* an (haint—man) Petechiæ.
**Heintfanawl**, *a.* (heintfan) Petechial.
**Heintiad**, *s. m.* (haint) A causing a contagion.
**Heintiaw**, *v. a.* (haint) To cause a contagion.
**Heintiawg**, *a.* (haint) Contagious; pestiferous.
**Heintiawl**, *a.* (haint) Contagious, epidemic.
**Heintiedig**, *a.* (haint) Being made contagious.
**Heintnod**, *s. m.* (haint—nod) Pestilence.
**Heintnodawl**, *a.* (heintnod) Pestilential.
**Heintty**, *s. m.—pl. t.* au (haint—ty) A pesthouse, or a lazaretto.
**Heintus**, *a.* (haint) Contagious, epidemic.
**Heintusrwydd**, *s. m.* (heintus) Contagiousness.
**Heinydd**, *s. m.* (hain) That is the seat of life.

> I'r nef gosodwyd hefyd
> Tragywydd heinydd ei had.
>
> In heaven was likewise established the eternal *abode* of his seed. *W. Middleton.*

**Heislan**, *s. f.—pl. t.* od (hais—llan) A hatchel.

> Pigau heislan o annwn.
>
> The points of a *hatchel* from hell. *Sir. R. Offeiriad.*

**Heislanawg**, *a.* (heislan) Being hatchelled.
**Heislaniad**, *s. m.* (heislan) A hatchelling.
**Heislanu**, *v. a.* (heislan) To hatchel, to dress flax.
**Heislanwr**, *s. m.—pl.* heislanwyr (heislan—gwr) A hatcheller.
**Heislanydd**, *s. m.—pl. t.* ion (heislan) Hatcheller.
**Heistain**, *s. f.* (hais—tain) An utensil for whetting scythes; otherwise called *hogalen pladur*, *rhip i ripo pladur*, and *pren grut*.
**Heisyllt**, *s. f.—pl. t.* au (hais) A hatchell.
**Heisylltiad**, *s. m.* (heisyllt) A hatchelling.
**Heisylltu**, *v. a.* (heisyllt) To hatchel flax.
**Heisylltydd**, *s. m.* (heisyllt) A hatcheller.
**Hel**, *s. f.—pl. t.* oedd (hy—el) A gathering, collection, or aggregate; a haugh, or holme, a dale or a low rich meadow by a river, and collected by the water, which is sometimes overflowed; *hel-lys*, prickly saltwort. The gradation of the different sorts of land begins with *hel;* the next is *ton*; then *twyn*; then *glan*; then *bryn*; and lastly *mynydd*.
**Hel**, *v. a.* (hy—el) To gather, to collect; to hunt. *Hel ynghyd*, to gather together; *hel ceryg*, to gather stones; *hel gwartheg*, to collect the cattle together; *hel llwynog*, to hunt a fox; *hel bwyd*, to gather victuals, or to go a begging; *hel blew ceimion*, to gather crooked hairs, that is to stray about; *mae hi yn hel ei bywyd*, she goes a begging for subsistence.

> Brochfael ac Iddon, brodorion Hywel,
> A helynt gerddorion,
> Rhyllas a llafnau rhuddion,
> Ar lles draig yn llys dragon.
>
> Brochfael and Iddon, the comrades of Hywel, that *would collect together* the minstrels, they have been slain with ruddy blades on the part of the dragon, in the court of the chief. *Peryf ab Cedifor.*

**Hela**, *s. m.* (hel) A gathering, a collecting; a hunt. *Cwn hela*, hunting dogs.
**Hela**, *v. a.* (hel) To gather, to collect; to hunt. *Fe a heliodd lawer o bethau*, he has amassed a deal of wealth.

> Ni ellir hela Twrch Trwyth byth nes caffael Bwlch, a Chyfwlch, a Sefwlch, meibion Cilydd Cyfwlch,—a Glas, Gleisig, a Gleisiawg, eu tri chi.
>
> The Boar of the Foam can never be *hunted* without having Bolch, Cyvolch, and Sevolch, the sons of Cilydd Cyvolch, with Glas, Gleisig, and Gleisiawg, their three dogs. *H. Cilydd—Mabinogion.*

**Helaeth**, *a.* (hel) Spacious, extensive, wide, large, abundant, plentiful.
**Helaethawl**, *a.* (helaeth) Tending to make ample, spacious, or large.
**Helaethder**, *s. m.* (helaeth) Spaciousness, ampleness, enlargement.
**Helaethdra**, *s. m.* (helaeth) Spaciousness.
**Helaethedig**, *a.* (helaeth) Extended, amplified; diffused, enlarged, expanded.
**Helaethiad**, *s. m.—pl. t.* au (helaeth) A making spacious, or extensive; extension, ampliation, amplification, enlargement.
**Helaethiadawl**, *a.* (helaethiad) Amplifying.
**Helaethiadu**, *v. a.* (helaethiad) To make spacious.
**Helaethiannawl**, *a.* (helaethiant) Tending to amplification, or extension.
**Helaethiannu**, *v. a.* (helaethiant) To render amplified, to become amplified.
**Helaethiant**, *s. m.* (helaeth) Amplitude.
**Helaethrwydd**, *s. m.* (helaeth) Spaciousness, extensiveness, ampleness, wideness; abundance.

> Nid helaethrwydd heb ddigon.
>
> There is no *abundance* without enough. *Adage.*

**Helaethu**, *v. a.* (helaeth) To make spacious, to extend, to widen, to enlarge, to amplify.

Helaethwr, *s. m.—pl.* helaethwyr (helaeth—gwr) One who makes spacious, an amplifier.
Helaethydd, *s. m.—pl. t.* ion (helaeth) Amplifier.
Helas, *s. f.* (hal) Black saltwort.
Helbul, *s. m.—pl. t.* on (hel—pul) Anxiety, care, trouble, perplexity, solicitude.
Helbulaw, *v. a.* (helbul) To act with anxiety; to be full of care, or anxiety.
Helbulus, *a.* (helbul) Full of anxiety; anxious, perplexed, solicitous; disquieted, distressed.
Helbulusaw, *v. a.* (helbulus) To act with perplexity, to be perplexed, to be anxious.
Helbulusrwydd, *s. m.* (helbulus) An anxiousness.
Helciad, *s. m.* (helg) A prying about carefully.
Helcu, *v. a.* (helg) To pry about carefully.
Heldir, *s. m.* (hel—tir) A hunting-ground.
Heldrin, *s. m.—pl. t.* oedd (hel—trin) Business.
Heldrin, *v. a.* (hel—trin) To bustle greatly.
Heldrinedd, *s. m.* (heldrin) A bustling state.
Heledd, *s. f.—pl. t.* au (hal) A place where salt is made, a salt-pit, a salt-pan. *Heledd Wen*, Nantwich; *Heledd-Ddu*, Northwich; *Erch a Heledd*, the Orkney and some other island on the coast of Scotland.

Hwch o bob heledd.

A sow from every *salt-pit*. *Adage.*

Oer y caid——
Er pan dynwyd, wynllwyd wedd,
Yr hoel o fron yr heledd.

Cold has it been found, and pale the complexion, since the peg has been drawn from the side of the *salt pan*.
*Ll. Goch ab Meurig Hen, i'r Eiry.*

Helfa, *s. f.—pl.* helfëydd (hel) An aggregate, or collected heap; a hunt.

O'r naw helwriaeth, tair helfa gyffredin sydd, a thair helfa gyfarthfa, a thair helfa ddolef.

Of the nine venations, there are three common *hunts*, and three baiting *hunts*, and three cry *hunts*. *Hunting Laws.*

Helfarch, *s. m.—pl.* helfeirch (hel—march) A hunting-horse, a hunter.
Helffon, *s. f.—pl.* helffyn (hel—ffon) Hunting-pole.
Helg, *s. m.* (hel) A careful hunting about.
Helgaeth, *s. m.* (helg) What gathers round; soot.
Helgi, *s. m.—pl. t.* on (hel—ci) A hunting-dog.
Helgig, *s. m.—pl. t.* au (hel—cig) The flesh of any beast of the chace, venison.
Helgorn, *s. m.* (hel—corn) A hunting horn.
Helgyd, *v. a.* (hel) To pry about carefully; to pursue continually; to dangle after.
Helhesg, *s. m.* (hal—hesg) Stinking iris.
Helhynt, *s. f.—pl. t.* iau (hel—hynt) A course for gathering; a hunting course; course, condition, or state of being; business.
Heli, *s. m.* (hal) Brine, a salt liquor, a pickle. *Heli y mor*, sea water: *mor heli*, the briny sea: *Pwll heli*, a brine pit.

Bwrw heli yn y mor.

To throw *brine* into the sea. *Adage.*

Heliad, *s. m.* (hel) A gathering; a hunting.
Heliad, *s. m.* (heli) A seasoning with brine; a turning to brine.
Helïaidd, *a.* (heli) Of a briny quality; saline.
Helïaw, *v. a.* (heli) To season with brine.
Helïawg, *a.* (heli) Abounding with brine, briny.
Heliedig, *a.* (heliad) Gathered, hunted.
Helig, *a.* (hel) Willow, made of willows.

Ni chaf, i ble'dd af o ddig!
Un tal ond garlawnt helig;
O chaf finnau wych feinwen,
Bagl goll a geiff bygel gwen.

Where will my anger lead me! I shall not obtain one reward but *willow* garland, but should I then obtain the splendid nymph, a hazel crook shall come to the lot of the fair one's swain.
*T. Aled.*

Helion, *s. pl. aggr.* (hel) Gatherings; gleanings.
Heliwr, *s. m.—pl.* helwyr (hel—gwr) A gatherer, or collector; a huntsman, a hunter.

Gair heliwr am ei gi.

A *huntsman's* word of his dog. *Adage.*

Yr anifel a helier fydd ar arddelw yr heliwr cyntaf, hyd oni ymchwelo, ei wyneb parth a'i gartref, a'i gefn ar yr hely.

The animal that is to be hunted shall belong to the first *huntsman*, until he turns his face towards his home, and his back upon the hunt. *Welsh Laws.*

Helm, *s. f.—pl. t.* ydd (hel) A stack, or rick.
Helmawg, *a.* (helm) Being stacked, or ricked.
Helmiad, *s. m.* (helm) A forming into stacks.
Helmu, *v. a.* (helm) To make a stack, to stack.
Helogan, *s. f.* (hal) Wild celery, smallage.
Help, *s. m.—pl. t.* au (hel) Help, assistance.
Helpiad, *s. m.* (help) A helping, or aiding.
Helpu, *v. a.* (help) To help, to aid, to assist.
Helpwr, *s. m.—pl.* helpwyr (help—gwr) A helper.
Helw, *s. m.* (hel) Possession, ownership.
Helwi, *v. a.* (helw) To have possession, to own.
Helwriaeth, *s. m.* (heliwr) Huntsmanship.

O'r naw helwriaeth, tair helfa gyffredin sydd; carw, haid wenyn, a gleisiad.

Of the nine *venations* three are common hunts: a stag, a swarm of bees, and the salmon. *Welsh Laws.*

Hely, *s. m.* (hel) A gathering, a collection; a hunt, a chase.

Tair hely rydd, haid wenyn ar wrysgen, a llwynog, a dyfrgi, can nid oes adlam iddynt.

The three free *hunts*, a swarm of bees upon a bough, and a fox, and an otter, for to them there is no retreat. *Welsh Laws.*

Hely, *v. a.* (hel) To gather, to collect; to hunt.

Os a neb i hely, a gillwng ar anifel, a chyfarfod o gwn segur ag ef a'i ladd, y cwn cyntaf biefydd, onid cwn y brenin fydd y rhai segur.

If any body should go *to hunt*, and should start after an animal, and should fresh dogs meet with it, and kill it, the first dogs are entitled to it, except the fresh ones are the king's dogs.
*Welsh Laws.*

Helyaidd, *a.* (hely) Venatic, relating to hunting.
Helydd, *s. m.—pl. t.* ion (hel) A hunter, venator.
Helyddes, *s. f.—pl. t.* au (helydd) A female hunter.
Helyddiaeth, *s. m.* (helydd) The vocation of a hunter; hunting, venation.
Helÿedig, *a.* (hely) Being hunted as game.
Helyg, *s. pl. aggr.* (hal) Willows; the salix. The varieties are, *helyg llwydion*, *helyg duon*, *helyg ffreinig*, *helyg y cwn*, and *merhelyg*. *Gwinllan helyg*, a plantation of sallows. *Mon.* Lovers were accustomed to make garlands of the willows, and of the birch; but one forsaken was presented with a *ffon gollen*, or hazel stick, instead of the other; probably punning upon the words *coll*, hazel, and *coll*, a loss.

Tra fu'r prif-feirdd heirdd, hardd weision cerddiawn,
Cyflawn o dri-ddawn ymadroddion,
Nid ef a berchid berchyll sou debyg,
Grwth helyg terig tor goluddion.

In the time of the high primary bards, the elegant ministers of song, full of the three talents of eloquence, no honour was given to what is like the pigs in tone, the dirty gut-breaking fiddle of *willows*. *Ior. Bell.*

Helygbren, *s. m.* (helyg—pren) A willow tree.
Helygen, *s. f.* (helyg) A willow, a willow tree.
Helyglwyn, *s. m.—pl. t.* i (helyg—llwyn) A grove of willows.
Helyglys, *s. m.* (helyg—llys) Willow herb.
Helynt, *s. f.—pl. t.* iau (hel—ynt) A gathering course; a hunting expedition, business, affair, concern, condition of life. *Mae yn ddrwg dy helynt*, thou art in a bad plight.

Fy holl helynt i a fynega Tychicus i chwi.

All my concern Tychicus will declare unto you.
*Colossians, iv. 7.*

**Helyntiad**, *s. m.* (helynt) A transacting business.

**Helyntiaw**, *v. a.* (helynt) To engage in business.

**Helyntiawg**, *a.* (helynt) Having a concern, or business in hand.

**Helyntiwr**, *s. m.—pl.* helyntwyr (helynt—gwr) One who is engaged in a concern.

**Helyth**, *s. m.—pl. t.* au (hel) A stock of a family

Y gwr haelaf gwir helyth
A bair pob angbenraid byth.

The most generous one, of pure *race*, will for ever cause an end to every necessity. *R. ab Dafydd o Lanelidan.*

**Hell**, *a.* (*f. of* hyll) Ugly, unsightly, frightful.

**Hellgre**, *s. f.* (hell—cre) An ugly hag, a witch.

**Helltni**, *s. m.* (hallt) Saltness, brinishness.

**Hem**, *s. f.—pl. t.* iau (hy—em) A hem, a border.

**Hemiad**, *s. m.* (hem) A hemming, a bordering.

**Hemiant**, *s. m.* (hem) A hemming, a border.

Meifod———
Balch ei bagl, bagwy aur ei hemiaint;
Balch ei llog rhag y llifeiriaint.

Meifod, proud its crook, a gold cluster its *borderings*; proud its cloister by the side of the streams. *Cynddelw.*

**Hemiaw**, *v. a.* (hem) To hem, or to border.

**Hemiawl**, *a.* (hem) Hemming or bordering.

**Hen**, *s. m.—pl. t.* ion (hy—en) Age, antiquity, oldness. *Hen* is old, in the Armenian and Burmese languages.

Pump penaeth dymbi o Wyddyl Fichti——
Chweched, ryfeddri o hen yd fedi;
Seithfed o heni i weryd tros li.

Five chieftains there have been to me of the Gwyddelian Picts; the sixth, a wonderful prince, of *age* thou cuttest off; a seventh through agedness to a region over the stream. *Taliesin.*

**Hen**, *a.* (hy—en) Far advanced; old; aged. *adv.* Quite, fully. *Dyna hen ddigon*, that is quite enough.

Addfed angeu i hen.

Death is mature for the *aged*. *Adage.*

Gwell cynghori hen no'i faeddu.

It is better to advise the *old* than to beat him. *Adage.*

**Henad**, *s. m.* (hen) A becoming old, or aged.

**Henadur**, *s. m.—pl. t.* on (henad) An elder.

**Henaduriad**, *s. m.—pl.* henaduriaid (henadur) An elder; a presbyter.

**Henaduriaeth**, *s. m.* (henadur) Eldership.

**Henaf**, *a.* (*superlative* of hen) Most ancient.

**Henafaidd**, *a.* (hen) Somewhat old, oldish, elderly.

**Henafgwr**, *s. m.—pl.* henafgwyr (henaf—gwr) The eldest man; the chief man.

**Henafiad**, *s. m.—pl.* henafiaid (henaf) Ancestor.

**Henafiaeth**, *s. m.—pl. t.* au (henaf) Ancestry.

**Henain**, *a.* (hen) Full of age, aged, ancient.

**Henaint**, *s. m.* (henain) Old age, agedness, age.

A glywaisti a gant Cywryd Caint,
A oddefodd lawer haint:
Gwae ieuanc a eiddun henaint.

Didst thou hear what Cywryd Caint hath sung, who suffered many a disease: woe to the young who shall wish for *old age*. *Engl. y Clywed.*

**Hendad**, *s. m.—pl. t.* au (hen—tad) A grand-father; otherwise called *taid*, and *tad cu*.

**Hendaid**, *s. m.—pl.* hendeidiau (hen—taid) A great grandfather.

**Hendeb**, *s. m.* (hen) Oldness, or agedness.

**Hender**, *s. m.* (hen) Agedness, antiquity.

**Hendra**, *s. m.* (hen) Agedness, antiquity.

**Hendref**, *s. f.—pl. t.* ydd (hen—tref) An old or established habitation, the same as a *gauafdy*, or winter house, being opposed to the *hafotty*, or the temporary residence in the mountains, to attend the flocks, during the summer months; also the inhabited country as distinguished from the high grounds, or mountains. It forms the name of many old mansions: as, *Hendref Gadog, Hendref Hywel, Hendref Urien, Hendref Forion, Hendre'r Mur, Hendre'r Coed.*

**Hendrefa**, *v. a.* (hendref) To make an abode.

Awn i'r nef i hendrefa.

Let us go to heaven *to fix* an *abode*.

**Hendrefiad**, *s. m.* (hendref) A fixing an abode.

**Hendrwm**, *a.* (hen—trwm) Heavy with age.

**Henddyn**, *s. m.—pl. t.* ion (hen—dyn) An old or aged person.

**Henddynaidd**, *a.* (henddyn) Old mannish.

Crwm yw ei lun, ac uniawn;
Iangaidd, a henddynaidd iawn.

Bent is its form, and straight; youthful, and very *old mannish*. *T. Derllys, i'r bwa.*

**Henefydd**, *s. m.—pl. t.* ion (henaf) A senator.

Henefydd dyledawg a osodir yn y parth aswy.

A noble *elder* shall be placed on the left side. *Welsh Laws.*

Haeddws deifniawg ri defnydd fy marddawr,
Llwrw llafnawr llawr llawrydd;
Llary, llid aerlew, llew lluydd;
Lleision, llas ei henefydd!

The accomplished chief has merited my bardic lore, on account of the blade of the grave in the ready band; mild, wrathful in the deed of slaughter the lion of hosts; Lleision, slain is its *elder!* *Cynddelw.*

**Henefyddiaeth**, *s. m.* (henefydd) Eldership.

**Heneidd-dra**, *s. m.* (henaidd) Oldness, agedness.

**Heneiddiad**, *s. m.* (henaidd) A growing old.

**Heneiddiaw**, *v. n.* (henaidd) To grow old.

Heneiddia, gwywa fal gwyon y wernen,
O ddiwrnawd i'w gilydd;
Nesaa i ben f'einioes beunydd,
Heb wybod darfod bob dydd.

*It grows old*, it withers like the foliage of the alder, from day to day; my life daily draws to an end; without knowing I every hour dwindle away. *W. Phylip.*

**Heneiddiawl**, *a.* (henaidd) Tending to grow old.

**Heneiddrwydd**, *s. m.* (henaidd) Agedness, oldness

**Henfab**, *s. m.—pl.* henfeibion (hen—mab) An old bachelor.

Dillyn yn llaw henfab.

A toy in the hand of an *old bachelor*. *Adage.*

**Henfam**, *s. f.—pl. t.* au (hen—mam) A grand-mother; otherwise called *nain* and *mam gu*.

**Henferch**, *s. f.—pl. t.* ed (hen—merch) An old maid

**Henfon**, *s. f.* (han—mon) An epithet for a cow, in the bardic theology.

Newydd benyg yn henfon.

New guts in a *cow of renovation*. *Adage.*

Pawb yn llosgwrn ei henfon.

Every one at the tail of his *cow of renovation*. *Adage.*

**Henfonfa**, *s. f.* (henfon) The stall of the cow of transmigration. *Henfon*, and *Henfonfa*, seem to have been terms used in the simple state of society, when each habitation had one cow.

Heb epa, heb henfonfa, heb ofer byd.

Without a monkey, without a *milch cow stall*, without a luxury in the world. *Taliesin.*

**Henfri**, *s. m.—pl. t.* au (hen—bri) An ancient prerogative or privilege.

**Hengan**, *s. f.* (hen—can) An old song, an adage.

**Hengaw**, *s. m.—pl. t.* on (hen—caw) A great great great grandfather, an ancestor in the fifth degree.

**Hengof**, *s. m.—pl. t.* ion (hen—cof) Tradition.

**Heni**, *s. m.* (hen) Antiquity, agedness.

**Henlladd**, *a.* (hen—lladd) Being of an old cut. *Cynud henlladd*, fuel of an old cut, or that is quite dry.

**Henlleu**, *s. m.* (hen—lleu) An old beehive.

**Henllydan**, *s. m.* (hen—llydan) Round birthwort: *henllydan y ffordd*, greater plantain.

**Hennain**, *s. f.* (hen—nain) A great grandmother.

**Heno**, *s. f.* (han) The night present. *adv.* To night, on this night.

Ystafell Cynddylan, ys digaried heno,
Gwedy'r neb pieu fad:
Wi o angen, by'r a'm gad!

The hall of Cynddylan, it is deserted *to-night*, after him that was its goodly possessor: ah death, why does he suffer me to remain! *Llywarch Hen.*

**Henoed**, *s. m.* (hen—oed) Decline of age.

**Henoeth**, *s. m.* (han—oeth) The present night. *adv.* to night, on this night.

Handid Eurddyl aflawen,
Henoeth, a lliosydd amgen;
Yn Aber Lleu lladd Urien.

Let Eurddyl be disconsolate *to-night*, being without the leader of armies: in Aber Lleu was Urien slain. *Llywarch Hen.*

**Henu**, *v. n.* (hen) To grow old, or antiquated.

Ni hena ceudawd.

The bosom *will* not *grow old.* *Adage.*

Ni hena eiddigedd.

Jealousy *will* not *grow old.* *Adage.*

**Henur**, *s. m.* (hen—ur) An elder, an ancient.

Neus dug o Gawrnur
Meirch gwelw gostrodur
Teyrnon henur.

Will not Cawrnur bring pale steeds, prancing, of the sovereign *elder.* *Taliesin.*

**Henuriad**, *s. m.—pl.* henuriaid (henur) An elder.

**Henw**, *s. m.—pl. t.* au (enw) A name.

**Henwad**, *s. m.* (henw) A naming, a nomination.

**Henwadawl**, *a.* (henwad) Nominative.

**Henwaith**, *s. m.* (hen—gwaith) Old work.

**Henwawl**, *a.* (henw) Nominal, or titular.

**Henwedig**, *a.* (henw) Being named, nominated.

**Henwedigaeth**, *s. m.* (henwedig) Nomination.

**Henwedigawl**, *a.* (henwedig) Nominative.

**Henwi**, *v. a.* (henw) To name, to nominate.

**Henwr**, *s. m.* (hen—gwr) An old man.

**Henwrach**, *s. f.—pl. t.* od (hen—gwrach) An old woman, a decrepid hag.

**Henwredd**, *s. m.* (henwr) The state of an old man

Pen a borthaf ar fy nghledd;
Gwel ei fyw nog yn ei fedd;
Oedd dinas i henwredd.

I bear a head upon my sword; better his being alive than in his grave: he was a bulwark for *old age.* *Llywarch Hen.*

**Henwri**, *s. m.* (henwr) Condition of an old man.

**Henwriaeth**, *s. m.* (henwr) State of an old man.

**Henydd**, *s. m.* (han) An origin, original, source.

Dybi o Lydaw prydaw gyweithydd,
Cedwyr ar gadfeirch ni pheirch eu henydd.

There will come from Llydaw a seasonable aid, men of conflict on war steeds who will not respect their *origin.*
*Golyddan Armes Prydain.*

Allmyn ar gychwyn i alltudydd,
Ol wrth ol attor ar eu henydd.

The Germans are removing to a foreign land, retreating on each other's steps to their *native place.*
*Golyddan, Armes Prydain.*

Atchwelwynt Wyddyl at eu henydd;
Rhydderchwynt Cymmry cadyr gyweithydd.

Let the Gwyddelians return to their *country*; let the Welsh exalt the mighty auxiliaries. *Golyddan, Armes Prydain.*

**Henydd**, *s. m.* (hen) An old beehive, or stock. See *Henlle.*

**Henyddiaeth**, *s. m.* (henydd) Origination.

**Heng**, *s. f.* (hy—eng) A push, or thrust. *Mi a roddaf heng iddo*, I will give him a push off.

**Heng**, *v. imp.* (hy—eng) Avaunt, be gone, away.

**Hengu**, *v. a.* (heng) To push, to squabble.

**Heol**, *s. f.—pl. t.* ydd (he—ol) A course, or path; a street; a road, or lane. *Dyfed.* *Heol y gwynt*, an epithet for the galaxy.

Llymion yw'r dynion ar d'ol;
Llewod yn cillio heol.

Fierce are the men after thee; lions cutting through a way.
*D. ab Siencyn.*

**Heolan**, *s. f. dim.* (heol) A lane, an alley.

**Heon**, *s. m.* (he) A bardic term for the Deity.

**Heonllys**, *s. m.* (heon—llys) Mistletoe.

**Heor**, *s. f.—pl. t.* au (he—gor) An anchor.

**Heori**, *v. a.* (heor) To anchor, to cast anchor.

**Hephun**, *s. f.* (heb—hun) A slumber, or a doze.

**Hephunaw**, *v. a.* (hephun) To slumber, to doze.

**Hephunawl**, *a.* (hephun) Slumbering, dozing.

**Hephuniad**, *s. m.* (hephun) A slumbering.

**Hephynt**, *s. m.—pl. t.* iau (heb—hynt) A whim, or reverie. *Pan dery hephynt yn dy ben doi yma eto*, when a whim takes thee in the head thou wilt come here again.

**Hepiad**, *s. m.—pl. t.* au (heb) A nodding.

**Hepian**, *s. m.* (heb) A nod; a slumber, a doze.

Damunwn ar bob gwir Gymro, na roddai hun i'w lygaid, na hepian i'w amrantau, nes gweled gogoniant yr Arglwydd.

I would desire of every true Welshman, that he should not give sleep to his eyes, nor *slumber* to his eyelids, without first seeing the glory of the Lord. *E. Cyffin.*

**Hepian**, *v. a.* (heb) To nod, to slumber.

Pan hapiodd i ddiawl hepian
I'r drws i ddaeth ar draws ei dan.

When the devil happened *to nod*, out of doors he came across his fire. *Richard Hughes.*

**Hepiaw**, *v. a.* (heb) To nod; to slumber.

**Hepiawl**, *a.* (heb) Nodding; slumbering.

**Heples**, *s. m.* (eples) A fermentation, a brooding; a leaven. *Rhoi yn heples*, to set in fermentation, an expression used for the process of first mixing the meal, water, and yeast, in making bread: *Mae y dyn wedi myned yn heples*, the man is become in a ferment; said of a giddy person, who does not mind his business.

**Hepwedd**, *s. f.* (heb—gwedd) That is appropriate, or necessary; an attribute.

**Her**, *s. f.—pl. t.* iau (hy—er) A push or motion of defiance; a challenge. *Moes drwy her iddo*, give in spite of him.

Heddyw i cefais hoew-ddawn;
Her i ddoe; hwr yw ei ddawn.

To-day I obtained a splendid gift; *defiance* to yesterday; tardy is its reward. *D. ab Gwilym.*

**Herawd**, *s. m.* (her) A defying; a challenge.

**Herc**, *s. f.—pl. t.* iau (her) A jerk forward.

**Herciad**, *s. m.* (herc) A reaching, or extending.

**Hercian**, *v. a.* (herc) To reach forward quickly.

**Herciannawl**, *a.* (herciant) Tending to reach forward, or to catch suddenly.

**Herciannu**, *v. a.* (herciant) To make a quick reach, catch, or effort; to jerk.

**Herciant**, *s. m.* (herc) A quick reach or jerk.

**Herciawl**, *a.* (herc) Tending to reach quickly.

**Hercu**, *v. a.* (herc) To reach, to extend; to fetch.

Cymmaint ag a hercai groen yr ych.

As far as the skin of the ox *would extend.* *Gr. ab Arthur.*

**Hercyd**, *v. a.* (herc) To reach, to extend, to fetch.

**Hercyn**, *s. m.* (herc) A quick reach, or thrust.

**Hergar**, *a.* (her) Provocative, irritating.

**Hergarwch**, *s. m.* (hergar) Provocativeness.

**Hergawd**, *s. m.* (herc) A pushing, a push, thrust.

**Hergloff**, *s. m.* (her—cloff) Limping, halting.

**Hergod**, *s. m.* (her—cod) A stretched paunch; an unwieldy body.

**Hergorn**, *s. m.* (her—corn) A butting horn.

**Hergorniaw**, *v. a.* (hergorn) To butt with horns.

**Hergwd**, *s. m.* (herc) A push, a shove, a jerk.

**Hergyd**, *s. m.—pl. t.* ion (herc) A quick shove.

**Hergydiad**, *s. m.* (hergyd) A shoving away.

**Hergydiaw**, *v. a.* (hergyd) To push away.

**Hergydiawl**, *a.* (hergyd) Sharply pushing.

**Heri**, *s. m.* (her) A jerk, a limp; a lame leg.

**Heriad**, *s. m.* (her) A throwing out; a provocation; a challenge, a defiance.
**Herial**, *s. m.* (her) A stimulant; a goad.
**Heriannawl**, *a.* (heriant) Brandishing.
**Heriannu**, *v. a.* (heriant) To brandish.
**Heriant**, *s. m.* (her) A throwing out, a brandishing; a provocation; a defiance.
**Heriaw**, *v. a.* (her) To brandish, to make a threatening motion, to provoke, to challenge.

Doe, trwy glod, rhagod, er hyn,
Heria bob coeg ddihiryn.

Proceeding forward, famously, notwithstanding this, and *defy* every blustering rascal. *Gro. Owain.*

**Heriawg**, *a.* (her) Being brandished, or shaken.
**Heriawl**, *a.* (her) Brandishing; irritating.
**Heriwr**, *s. m.—pl.* heriwyr (heriaw—gwr) A brandisher; one who makes signs of defiance.
**Herlach**, *s. m.* (harl) A jangle, a wrangle.
**Herlawd**, *s. m.—pl.* herlodau (her—llawd) A stripling, or a springal.

Yn herlawd salw i'm galwad.

A poor *stripling* thou didst call me. *D. ab Gwilym.*

**Herlodes**, *s. f.—pl. t.* i (herlawd) A hoeden.
**Herlodesaidd**, *a.* (herlodes) Like a hoeden.
**Herlotiad**, *s. m.—pl.* herlotiaid (herlawd) A stripling; a tall gawky.

Herlotiaid yw'r hil stoch.

*Striplings* are the race to you. *Rhys Nanmor.*

**Herlotyn**, *s. m. dim.* (herlawd) A stripling.
**Herlu**, *v. a.* (harl) To jangle; to jaw.
**Herlotyn**, *s. m. dim.* (herlawd) A stripling.
**Herodr**, *s. m.—pl.* herodron (herawd) An embassador, a herald.
**Herodraeth**, *s. m.* (herodr) Embassy.
**Herodri**, *v. a.* (herodr) To go on an embassy.
**Hers**, *s. m.* (her) A sharp push; a contemptuous thrusting away; a flout.
**Hersdin**, *s. f.* (hers—tin) A frisky tail.
**Hersedd**, *s. m.* (hers) The act of scouting away.
**Hersi**, *s. m.* (hers) The act of scouting away.
**Hersiad**, *s. m.* (hers) A sending away in a hurry, a packing off.
**Hersiaw**, *v. a.* (hers) A sending away in a hurry, a packing off.
**Hersiaw**, *v. a.* (hers) To scout, to pack away.
**Herw**, *s. m.* (her) A flight; a scouting, a going about for pillage.

Myned ar herw hyd yn Lloegr——a orug.

Go on a *ramble* as far as into England was what he did. *Br. Rhonabwy—Mabinogion.*

**Herwa**, *v. a.* (herw) To range about, to fly from place to place; to wander; to scout, to hunt for spoil; to harry.
**Herwad**, *s. m.* (herw) A ranging, a flying from place to place; a scouting; a hunting for spoil.
**Herwawl**, *a.* (herw) Ranging, prowling.
**Herwlong**, *s. f.—pl. t.* au (llong) A privateer.
**Herwlongwr**, *s. m.—pl.* herwlongwyr (herwlong—gwr) A privateer man.
**Herwm**, *s. m.* (her) The gloss of dressed leather.
**Herwr**, *s. m.—pl.* herwyr (herw—gwr) One who fleeth; a scout; a fugitive; a depredator. *Herwr mor*, a sea rover. *Porthiant herwr*, subsistence of the fugitive; a contribution levied by the lords marchers in certain districts, towards the support of vagrants, with a view to preserve the country from their depredations.
**Herwriad**, *s. m.* (herwr) The act, or condition of a fugitive; a pillaging, or depredation.
**Herwriaeth**, *s. m.* (herwr) Vagrancy; a roving.
**Herwriaw**, *v. a.* (herwr) To lead a roving life.
**Herwth**, *s. f.* (he—rhwth) The strait gut.
**Herwydd**, *prep.* (her—gwydd) Because, for, with respect to, on account of; after, according to; by, with, the agency. *Herwydd hyn*, because of this; *herwydd cyfraith*, according to law.

Yn wir ni ymladdai neb
Yn union yn ei wyneb;
O herwydd fal dihirwaith,
Ei gefn a droe at y gwaith.

Indeed no body would fight him directly face to face; *because*, like a thing disliked, his back he would turn to that work. *T. Prys, i Elis Pychan.*

**Hesb**, *a.* (*f. of* hysb) Dry, dried up, barren.

Ni char buwch hesp lo.

A *barren* cow does not like a calf. *Adage.*

**Hesbin**, *s. f.—pl. t.* od (hesb) A ewe of a year old.
**Hesbinhwch**, *s. f.* (hesbin—hwch) A young sow.
**Hesbwrn**, *s. m.—pl.* hesbyrniaid (hesb—gwrn) A hoggerel, a young sheep.
**Hesg**, *s. pl. aggr.* (hy—asg) Sedges, sedge, rushes. *Mor-hesg*, the sea rushes, or mat rushes.
**Hesgen**, *s. f.* (hesg) A single sedge, or rush.
**Hesglif**, *s. f.* (hesg—llif) A two-handled saw, a whipsaw.
**Hesglwyn**, *s. m.—pl. t.* i (hesg—llwyn) A sedge-bed; a grove of reeds.
**Hesgyn**, *s. m.—pl. t.* au (hesg) A sieve, or riddle.

Hesgyn, dwy geiniawg a dal,
Hesgyn helyg un geiniawg.

A *sieve*, its value is two pence: a willow *riddle*, one penny. *Welsh Laws.*

**Hesor**, *s. f.—pl. t.* au (he—sor) A hassock.
**Hestawr**, *s. f.—pl.* hestorau (hy—estawr) A measure equal to two bushels.
**Hestoraid**, *s. f.—pl.* hestoreidiau (hestawr) As much as a two bushel measure contains.
**Het**, *s. f.—pl. t.* iau (hed) A hat. *Het helyg*, a crown of willows.
**Hetiad**, *s. f.—pl.* hetieidiau (het) A hatful.
**Hetiwr**, *s. m.—pl.* hetwyr (het—gwr) A hatter.
**Hetys**, *s. m.* (hed) A small space, short space.
**Heu**, *v. a.* (he) To sow, to scatter about.

Oni heuir ni fedir.

If there *should be* no *sowing* there will be no reaping. *Adage.*

**Heuad**, *s. m.* (heu) A sowing, semination.
**Heuawl**, *a.* (heu) Relating to sowing.
**Heuddadwy**, *a.* (haedd) That may be reached; attainable; that may be deserved.
**Heuddedig**, *a.* (haedd) Being reached, or attained; deserved, merited.
**Heuddiad**, *s. m.* (haedd) A reaching; a meriting.
**Heuddu**, *v. a.* (haedd) To reach, to attain.
**Heuedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (heuad) A sower.
**Heulaw**, *v. n.* (haul) To shine as the sun; to sun, to solate. *Mae hi yn heulaw*, the sun is shining, or it shines; *pan heulo*, when the sun shines.
**Heulaidd**, *a.* (haul) Sunlike; solar; solary.
**Heulawd**, *s. m.* (haul) The shining of the sun.
**Heulawg**, *a.* (haul) Sunny, sunshiny; solary.
**Heuledd**, *s. m.* (haul) Sunniness; sunshine.
**Heulen**, *s. f. dim.* (haul) A gleam of sunshine through fleeting clouds.
**Heulenu**, *v.* (heulen) To throw gleams of sunshine
**Heulfa**, *s. f.—pl. t.* on (haul) A solary.
**Heulfre**, *s. f.* (haul—bre) A sunning hill.
**Heulgi**, *s. m.—pl. t.* on (haul—ci) A mock sun; also called *ci haul*, and *mab haul*.
**Heuliad**, *s. m.* (haul) A sunning; insolation.
**Heuliadu**, *v. a.* (heuliad) To give a sunning.
**Heulor**, *s. m.—pl. t.* ydd (haul) A half door.

**Heulorsaf**, *s. f.—pl. t.* ion (haul—gorsaf) A solstice. *Heulorsaf haf*, or *alban hefin*, summer solstice; *heulorsaf gauaf*, or *alban arthan*, winter solstice.
**Heulorsafawl**, *a.* (heulorsaf) Solstitial.
**Heulrawd**, *s. f.* (haul—rhawd) The ecliptic.
**Heulrod**, *s. f.—pl. t.* au (haul—rhod) A sun cap, a cap to keep off the sun; a glory, or circle of rays surrounding the head.

> Heulrod y sydd imi o groen pysg; a hono am fy mhen, mi a safaf rhag bron Hu, pan fo yn cinlawa; a mi a fwytiaf gydag ef, ac a yfaf, heb gynghraf arnaf.
>
> I have a cap of the skin of a fish; with that on my head, I will stand before Hu, when he is dining; and I will eat with him, and I will drink, without any notice being taken of me.
> *H. Car. Mag.—Mabinogion.*

**Heulwen**, *s. f.* (haul—gwen) The sunshine.
**Heulyd**, *s. m.* (haul) Sunshine; sun-heat.

> Heulyd fodd, hael wyd o farn,
> Hywel deg.——
>
> Like the *sunshine*, thou art liberal in opinion, fair Hywel.
> *Iolo Goch.*

**Heuraw**, *v. a.* (haer) To assert, to vindicate.

> Pan yrer y Gwyddel allan ynfyd ydd heurir ei fod.
>
> When the Irishman is turned out *it will be asserted* that he is a simpleton. *Adage.*

**Heurawl**, *a.* (haer) Assertive, or positive.
**Heuredig**, *a.* (haer) Asserted, or affirmed.
**Heuredigaeth**, *s. m.—pl. t.* au (heuredig) The act of asserting, or vindicating; an assertion.
**Heuredd**, *s. m.* (haer) Positiveness; vindication.
**Heurgar**, *a.* (haer) Apt to assert, or to affirm.
**Heurgarwch**, *s. m.* (heurgar) Aptness to assert.
**Heuriad**, *s. m.* (haer) An asserting; an assertion.
**Heuriannawl**, *a.* (heuriant) Vindicatory.
**Heuriannu**, *v. a.* (heuriant) To vindicate.
**Heuriant**, *s. m.* (haer) An assertion; vindication.
**Heus**, *a.* (he—us) Apt to surround.
**Heusaw**, *v. a.* (heus) To protect, to keep.
**Heusawr**, *s. m.—pl.* heusorion (heus) Herdsman.

> Wedi rhyddâu Gwrtheyrn, lladd a orugynt y Prydeiniaid, megis bleiddiau yn lladd defaid mewn cail, wedi ydd adawai eu heusawr hwynt.
>
> After liberating Vortigern, they slew the Britons, like wolves killing sheep in a fold, after being left by their *shepherd*.
> *Gr. ab Arthur.*

**Heuslau**, *s. pl. aggr.* (heus—llau) Sheep-lice.
**Heusleuen**, *s. f. dim.* (heuslau) A sheep-louse.
**Heusori**, *v. a.* (heusawr) To act as a herdsman.
**Heuwr**, *s. m.—pl.* heuwyr (heu—gwr) A sower.
**Heuydd**, *s. m.—pl. t.* ion (heu) A sower.
**Hew**, *s. m.* (he) A call of defiance. *Hew iti*, defiance to thee, or I defy thee; *hew gwaethaf iti*, I defy thee thy worse.
**Hewcri**, *s. m.* (hewgr) Pertness, sauciness.
**Hewgr**, *a.* (hew) Pert, insolent, hectoring.
**Hewgrach**, *s. m.* (hewgr) Pertness, insolence.
**Hewiad**, *s. m.* (hew) A defying, a hectoring.
**Hewian**, *v. a.* (hew) To defy continually, or often.
**Hewrach**, *s. m.* (hew) A wrangling, a squabble.
**Hewyd**, *s. m.—pl. t.* on (he—gwyd) Passion, zeal.

> ——Hwyr ydd a hiraeth
> Hewyd yn y fron-glwyd frau.
>
> Long will regret remain a passion in the frail bosom.
> *D. ab Ieuan Ddu.*

**Hewydus**, *a.* (hewyd) Passionate, zealous.
**Hewydusaw**, *v. n.* (hewydus) To become passionate; to become zealous, or ardent.
**Hewydusrwydd**, *s. m.* (hewydus) Passionateness; the state of being impassioned; zealousness.
**Hewydd**, *s. m.* (haw) Maturity, ripeness.
**Hewyn**, *s. m.* (haw) That is ripe, or mature.
**HI**, *s. f. r.* A female, a she; a woman.



**Hi**, *pron. f.* (hi, *s.*) She, a female spoken of.

> Hi ni ad ym, hyn a wn;
> Hi ni fyn hyn a fynwn.
>
> *She* will not suffer me to have, this I know; *she* will not have that which I would wish. *D. ab Edmwnt.*

**Hic**, *s. f.—pl. t.* ion (hy—ic) A snap, or quick noise; a trick.

> Nid oes ynddo na hic na hoc.
>
> There is in him nor *trick* nor deceit. *Adage.*

**Hiced**, *s. f.—pl. t.* ion (hic) Trick; cheat. *Nid oes ond yr hiced a'r hoced rhyngddynt*, there is nothing but sharp give and sharp take between them.

> Hiced a ladd hoced.
>
> *Trick* will murder deceit. *Adage.*

**Hicell**, *s. f.—pl. t.* i (hic) A bill with a long handle used in cutting briers.
**Hiciad**, *s. m.* (hic) A tricking; a cheating.
**Hiciaw**, *v. a.* (hic) To snap, to catch suddenly.
**Hid**, *s. m.* (hy—id) Aptness to run; continuity.

> Mab Madawg, llaw-ddeawg lleudid,
> I fawr fyw i fawr-feirdd pob hid.
>
> The son of Mador of the dexterous hand of splendour is greatly to live to the eminent bards of every connexion.
> *Ll. P. Moch, i Gr. ab Cynan.*

**Hidl**, *s. m.* (hid) A strainer, a colander, a sieve.
**Hidl**, *a.* (hid) Distilling, dropping abundantly; flowing; dropping as out of a sieve. *Wylaw yn hidl*, to shed tears abundantly.
**Hidlaid**, *a.* (hidl) Distilling, dropping; being run through a strainer.

> Dywalltaw di, fenestr, fedd hidlaid melus;
> Ergyrwaew gwrys gochwys yn rhaid,
> O gyrn buelin balch oreuraid.
>
> Pour thou, cupbearer, the *distilled* mead delicious; the spear impelling spirit causing sweat in the toil, out of the buffalo horns proudly ornamented with gold. *O. Cyfeiliawg.*

**Hidlaidd**, *a.* (hidl) Tending to distil, or to drop.
**Hidlaw**, *v. a.* (hidl) To distil; to run, or strain through a strainer.

> Amlaf cwrw tra hidler.
>
> Most abundant is the ale whilst *it runs through a sieve.*
> *Adage.*

**Hidlddeigr**, *a.* (hidl—daigr) Tear-distilling.
**Hidledig**, *a.* (hidl) Distilled, strained in a sieve.
**Hidliad**, *s. m.* (hidl) A distilling, a dropping.
**Hidlion**, *s. pl. aggr.* (hidl) Strainings, droppings.
**Hidlus**, *a.* (hidl) Apt to distil, or to drop. *Wylaw yn hidlus*, to shed tears abundantly. *Sil.*
**Hidlwr**, *s. m.—pl.* hidlwyr (hidl—gwr) A distiller; one who strains liquid.
**Hif**, *s. m.—pl. t.* ion (hy—if) A skin, or surface.
**Hifiad**, *s. m.* (hif) A peeling off the skin; a plucking off wool.
**Hifiaw**, *v. a.* (hif) To pluck off the skin; to pluck off wool, or hair; to strip.
**Hifiawg**, *a.* (hif) Being peeled, or stripped.
**Hifiawl**, *a.* (hif) Peeling, stripping, plucking.
**Hifiedig**, *a.* (hifiad) Peeled, stripped, plucked.
**Hifiwr**, *s. m.—pl.* hifwyr (hif—gwr) One who peels, strips, or plucks off.
**Hifyn**, *s. m. dim.* (hif) A skin, a piece of skin. *Hifyn hafog*, an hermaphrodite.
**Hiff**, *s. m.—pl. t.* iau (hy—iff) A flake; a drift. *Hiff o eira*, a flake of snow.

> Ei dwy fraich——
> Pe cawn gan ddyn eu dodi
> Am fy nghorff, lliw hiff ar don
> Hi rwystra i'm calon dori.
>
> Her two arms, if I could prevail on the fair to extend round my bosom, she that is of the hue of the *foam* on the wave, would prevent my heart from breaking. *Gofalus.*

**Hiffiad**, *s. m.* (hiff) A throwing in flakes; a drifting, or flaking.

**Hiffiant**, *s. m.*—*pl.* hiffiant (hiff) A flaking.

Y mae fy mron yn don am dani,
Un wen liw'r hiffiant, o'i llwyr hoffi.

My heart is broken on her account, she that is fair like the *foam*, from loving her to excess. *Gr. Morys.*

**Hiffiaw**, *v. a.* (hiff) To cast in flakes; to drift.
**Hiffiawg**, *a.* (hiff) Being flaked, flaky; drifted.
**Hiffiawl**, *a.* (hiff) Tending to flake, flaky; drifting.
**Hiffl**, *s. m.*—*pl. t.* au (hiff) A gush through.
**Hifflaid**, *v. a.* (hiffl) To gush through the surface. *Gwaed yn hifflaid*, blood gushing out.
**Hifflaw**, *v. a.* (hiffl) To gush through the skin.
**Hiffliad**, *s. m.* (hiffl) A gushing, a running out.
**Hiffyn**, *s. m. dim.* (hiff) A flake; what is drifted.
**Hil**, *s. f.*—*pl. t.* ion (hy—il) A particle, piece or fragment: an emanation; issue, produce, progeny. *Tori yn hilion*, to break in pieces. *Sil.*
**Hilen**, *s. f.* (hil) A bearing female.
**Hilgeirch**, *s. pl. aggr.* (hil—ceirch) Tail oats.
**Hiliad**, *s. m.* (hil) An emanation; a producing, or generating.
**Hiliadaeth**, *s. m.* (hiliad) A production.

Goreu hiliadaeth, gre o gesyg.

The best for production is a stud of mares. *Adage.*

**Hiliant**, *s. m.* (hil) Offspring, issue, or progeny.

Am ei rol yn gymmhar ewig,
Cewch, yn y parc a farciwn,
Ladd cant o hiliant hwn.

For giving him as a mate for the doe, you shall, in the park that I would note, kill a hundred of his *progeny*. *T. Prys i ofyn carw.*

**Hiliaw**, *v. n.* (hil) To emanate: to yield, to produce; to bring forth.

Da hil ceirch gan ddrwg gynnog.

The oats *yield* well from the bad tub. *Adage.*

**Hiliawd**, *s. m.* (hil) Production; a getting issue.
**Hiliawg**, *a.* (hil) Having increase, having issue.
**Hilig**, *a.* (hil) Productive, procreative. *s. m. dim.* One that is produced or begotten.

Gwystl bedydd byd eilig,
Yn muchedd haelonedd hilig.

The pledge of baptism of the transient world, in the productive state of generosity. *Cynddelw, i O. Gwynedd.*

Canotor cathl gwynfyd gwenleufer,
Goluchaf glew hael hilig Naf Ner.

Singing the hymn of the happiness of the splendid light, I will adore the gracious intrepid *one begotten* of the supreme Cause. *Meigant, i Gadwallawn.*

**Hiliogaeth**, *s. f.*—*pl. t.* au (hiliawg) Offspring.
**Hiliogaethawl**, *a.* (hiliogaeth) Contributing to propagation, apt to propagate.
**Hiliogi**, *v. a.* (hiliawg) To render prolific; to have issue; to procure issue.
**Hilion**, *s. pl. aggr.* (hil) Small particles, pieces, or fragments; emanations.
**Hiliwr**, *s. m.* (hil—gwr) One who gets issue.
**Hilus**, *a.* (hil) Being in small particles, or pieces; being broken in pieces. *Sil.*
**Hilyn**, *s. m. dim.* (hil) A small particle, or part; an emanation.
**Hill**, *s. m.*—*pl. t.* ion (hy—ill) An augmentation.
**Hilliaw**, *v. a.* (hill) To augment, or to add.
**Hin**, *s. f.* (hy—in) The weather, the temperature of the air.

Bwa'r hin heb un llinyn,
Y sydd bedwar defnydd dyn.

The bow of the *sky*, without a string, is of the four elements of man. *L. G. Cothi.*

I ochel awel auaf
I wlad annwfn ddwfn ydd af.——
Yn iach freuin yr hinon;
Yn iach ein llywiawdr a'n ion;
Yn iach y cogau ieuanc;
Yn iach hin fehefin fanc;
Yn iach yr haul.——

To avoid the winter gale, I will go to the lower world profound: then farewell thou sovereign of *serene skies*, farewell our director and our rule; farewell the cuckoo's young: farewell the filling *weather*, the early summer; farewell thou sun! *D. ab Gwilym.*

**Hinaw**, *v. n.* (hin) To alter the weather.
**Hinawg**, *a.* (hin) Being affected by the weather.
**Hinawl**, *a.* (hin) Relating to the weather.
**Hindda**, *s. f.* (hin—da) Fair or calm weather.

Gnawd wedi dryghin hindda.

After a storm comes *fair weather*. *Adage.*

**Hinedd**, *s. m.* (hin) The state of the weather.
**Hiniog**, *s. f.*—*pl. t.* au (hin) A door frame.

Aeth——
Dros hiniog y drws unwaith.

He went once over the threshold of the door. *T. Aled.*

**Hinon**, *s. f.* (hin) Serene, or fair weather, a clear atmosphere; halcyon days. *Hinon haf*, the serene season of summer.

Pan yw dien gwlith,
A gorwy hinon,
A mel, a meillion,
A meddgyrn meddwon,
Addwyn i ddragon
Ddawn y Derwyddon.

When the dew is fallen, and *serenity* reigns, and honey, and trefoils abound, and the mead-horns full, pleasing to the sovereign the lore of the Druids. *Taliesin.*

**Hinonaidd**, *a.* (hinon) Apt to be fair weather.
**Hinonawl**, *a.* (hinon) Tending to fair weather.
**Hinoneiddrwydd**, *s. m.* (hinonaidd) Tendency to fair weather.
**Hinoni**, *v. n.* (hinon) To become serene, or calm; also to bask in the sun.
**Hinoniad**, *s. m.* (hinon) A clearing up of the weather; a becoming fine weather.
**Hinonrwydd**, *s. m.* (hinon) Serenity of the weather.
**Hip**, *s. m.*—*pl. t.* iau (hy—ip) A sudden tap.
**Hipiad**, *s. m.* (hip) A sudden tap, or tipping.
**Hipiaw**, *v. a.* (hip) To cast, or dash suddenly.

Hap yw'r bell hipio'r bel,
Fu fab Ieuan ab Hywel.

It is a chance for the hand *to tap* the ball, as the son of Ieuan ab Hywel was wont to do. *S. Ceri.*

**Hir**, *a.* (hy—ir) Long; prolix, tedious; dilatory. *Hir ei hoedl*, American cudweed.

Gwell hir bwyll no thraha.

*Long* consideration is better than violence. *Adage.*

Angen y gyhydedd hir yw ban deuddegsill, a hyd pennill o bedwar ban i unarbymtheg, deunaw, ac ugain.

The requisite of the *long* metricity is a verse of twelve syllables, and the length of the stanza from four verses to sixteen, eighteen, and twenty. *Barddas.*

**Hiraeth**, *s. m.*—*pl. t.* au (hir—aeth) Longing; an earnest desire, or expectation; grief at parting, regret.

Gwyw calon gan hiraeth.

The heart is palsied by *regret*. *Adage.*

**Hiraethawg**, *a.* (hiraeth) Subject to longing.

Cethlydd cathlfoddawg, hiraethawg ei llef,
Taith oddef, tuth hebawg,
Cog freuer yn Aber Cuawg.

A songster of contented song, with *grief-exciting* voice, subject to wander, with the flight of a hawk, the loud cuckoo in Aber Cuog. *Llywarch Hen.*

**Hiraethawl**, *a.* (hiraeth) Longing, regretting.
**Hiraethiad**, *s. m.* (hiraeth) A longing after, a regretting for absence.
**Hiraethloni**, *v. n.* (hiraethlawn) To become subject to longing, or regret, on account of absence.
**Hiraethlawn**, *a.* (hiraeth) Full of regret after.

Hir yw byth, bellach belled bod hebddaw;
Hiraethlawn gymmraw gymmrwyn godded!

Eternity is long, now how tedious it is to be without him; a *sorrowful* consternation, and affliction altogether grievous reign! *Llygad Gwr. m. H. ab Madawg.*

**Hiraethlondeb**, *s. m.* (hiraethlawn) Sorrow, regret, or longing, on account of absence.
**Hiraethlonder**, *s. m.* (hiraethlawn) A state of longing on account of absence.
**Hiraethlonedd**, *s. m.* (hiraethlawn) A state of longing, or grief on account of absence.
**Hiraethloni**, *v. n.* (hiraethlawn) To become subject to longing, or regret, on account of absence
**Hiraethu**, *v. a.* (hiraeth) To long; to desire, or to expect earnestly; to grieve after parting; to regret.

Hiraethaf am fab Dafydd
Mal y dall am oleu dydd.

*I will grieve* for the son of Dafydd like the blind for the light of day. *L. G. Cothi.*

**Hiraethus**, *a.* (hiraeth) Subject to longing.
**Hiraethusaw**, *v. n.* (hiraethus) To become subject to longing on account of absence.
**Hiraethusrwydd**, *s. m.* (hiraethus) A state of longing on account of absence.
**Hirais**, *s. pl. aggr.* (hir—ais) The long ribs.
**Hiramynedd**, *s. m.* (hir—amynedd) Long suffering, patience.
**Hiranadl**, *s. f.* (hir—anadl) A long breath.
**Hiranadlawg**, *a.* (hir—anadlawg) Long-winded.
**Hiranadliad**, *s. m.* (hiranadl) A taking long respiration, a drawing the breath long.
**Hiranadlu**, *v. a.* (hiranadl) To take long respiration.
**Hirbell**, *a.* hir—pell) Very far, distant.
**Hirbellder**, *s. m.* (hirbell) Long distance.
**Hirbelledd**, *s. m.* (hirbell) Long distance.
**Hirbwyll**, *s. m.* (hir—pwyll) Deliberate caution.
**Hirbwyllaw**, *v. a.* (hirbwyll) To act cautiously.
**Hirbwyllawg**, *a.* (hirbwyll) Very cautious.
**Hirbwyllus**, *a.* (hirbwyll) Of great caution.
**Hirchwedl**, *s. m.—pl.* hirchwedlau (hir—chwedl) A long story, a prolix discourse.
**Hirchwedlawg**, *a.* (hirchwedl) Being prolix.
**Hirchwedledd**, *s. m.* (hirchwedl) Macrology.
**Hirchwedlu**, *v. a.* (hirchwedl) To talk tediously.
**Hirchwedlus**, *a.* (hirchwedl) Tedious in discourse
**Hirder**, *s. m.* (hir) Length, longitude.
**Hirdra**, *s. m.* (hir) Length, or longitude.
**Hirdrig**, *s. m.* (hir—trig) A long delay, a lingering. *a.* Long-tarrying.
**Hirdrigaw**, *v. a.* (hirdrig) To tarry long.
**Hirdrigawl**, *a.* (hirdrig) Long tarrying.
**Hirdrigedd**, *s. m.* (hirdrig) Long abidance.
**Hirdrigiad**, *s. m.* (hirdrig) A long tarrying.
**Hirdrigiannawl**, *a.* (hirdrigiant) Being of long residence, abidance or dwelling.
**Hirdrigiannu**, *v. a.* (hirdrigiant) To make a long residence or abidance.
**Hirdrigiant**, *s. m.* (hirdrig) Long residence.
**Hirddydd**, *s. m.—pl. t.* iau (hir—dydd) Long day.

Gwelais, pan gerddais gorddwyfr afon Rîn,
Gwyl riain ddiaufon;
Gwir ddiseml, a gwar ddison,
Gwawr hirddydd, mawr harddedd Mon.

I saw, when I walked the borders of the water of the river Rhine, a bashful lady unattended; she was truly simple, and mildly silent, the ray of the *long day*, the great ornament of Mon. *Gr. ab M. ab Dafydd.*

**Hireinioes**, *s. f.* (hir—einioes) Longevity.

Ni chain ymddiried i hireinioes.

To trust to *long life* will not do. *Adage.*

**Hirell**, *s. m.* (hir—ell) A gleam, a beam of light; a ray of glory; an angel.

Flamychodd hiriell tu uch Hafren.
Byddawd Cymry cynnull yn ddisgwen.

The *flash* flamed over the region of Hafren; let the Welsh be splendidly collected. *Taliesin.*

**Hirfod**, *s. m.* (hir—bod) Long abidance.
**Hirfraich**, *s. f.—pl.* hirfreichiau (hir—braich) A long arm. *a.* Long-armed; long-handed.
**Hirfryd**, *s. m.* (hir—bryd) An even mind.
**Hirfrydig**, *a.* (hirfryd) Of even mind, of long bearing mind; magnanimous.

Hirfrydig a yfo ei holldda.

*Magnanimous* is he that will drink his whole wealth. *Adage.*

**Hirfrydigrwydd**, *s. m.* (hirfrydig) Magnanimity
**Hirgadw**, *v. a.* (hir—cadw) To keep long.
**Hirglust**, *s. f.—pl. t.* iau (hir—clust) A long ear. *a.* Long-eared.
**Hirglwyf**, *s. m.* (hir—clwyf) Long sickness.
**Hirglyw**, *a.* (hir—clyw) Being long eared.
**Hirgrwn**, *s. m.* (hir—crwn) A cylinder. *a.* Cylindrical, of the form of a roller.
**Hirgrynawl**, *a.* (hirgrwn) Cylindrical.
**Hirgrynedd**, *s. m.* (hirgrwn) Cylindricalness.
**Hirgul**, *a.* (hir—cul) Long and narrow.
**Hirgwyn**, *s. f.—pl. t.* ion (hir—cwyn) Long complaint. *a.* Long-complaining.
**Hirgwynaw**, *v. a.* (hirgwyn) To complain incessantly, to moan continually.
**Hirgwynfan**, *v. a.* (hirgwyn) To moan incessantly
**Hirgylch**, *s. m.—pl. t.* au (hir—cylch) Ellipsis.
**Hirgylchaidd**, *a.* (hirgylch) Elliptic, or oval.
**Hirgylchawl**, *a.* (hirgylch) Elliptical, oval.
**Hirgylchiad**, *s. m.* (hirgylch) A forming an ellipsis.
**Hirgylchu**, *v. a.* (hirgylch) To form an ellipsis.
**Hirhegl**, *s. f.—pl.* hirheglau (hir—hegl) A long shank, or long legged.
**Hirheglawg**, *a.* (hirhegl) Having long shanks.
**Hirheglyn**, *s. m.* (hirhegl) Long-legged spider.
**Hirhoedl**, *s. f.* (hir—hoedl) A long life.
**Hirhoedlawg**, *a.* (hirhoedl) Long-lived.
**Hirhoedledd**, *s. m.* (hirhoedl) Longevity.
**Hirhoedli**, *v. n.* (hirhoedl) To live a long life.
**Hiriad**, *s. m.* (hir) A lengthening; a prolongation.
**Hiriain**, *a.* (hir) Having length; far-extending.

Cadell hiriell hiriain.

Cadell of the *long-extending* gleam. *Cynddelw.*

**Hirian**, *s. m. dim.* (hir) A tall lank person, a gangrel. The same as *Climach*, *llabwst*, and *lleban*.
**Hiriannawl**, *a.* (hiriant) Tending to prolong.
**Hiriannu**, *v. a.* (hiriant) To prolong; to delay.
**Hiriant**, *s. m.* (hir) Length, continuity; distance, remoteness; delay, or putting off.
**Hiriau**, *s. f.—pl.* hirieuau (hir—iau) A long yoke, which went with eight oxen.
**Hiriaw**, *v. a.* (hir) To lengthen, to prolong.
**Hiriell**, *s. m.* (hirell) A gleam, or beam of light; a ray of glory; an angel.

Dymgwallofied i win——
Yn arfonig gaer, ger hiriell bau.

I have been cherished with wine in the Arvonian city, near the region of the *beam of glory*. *Gwalchmai.*

Carwyr hyrtawg o hiriell,
Gwenwyn y byd a'i gwnai'n bell.

Lovers of the gentle *angel*, the envy of the world removes him far. *Deio Ddu o Ben Adeiniol.*

**Hirlas**, *s. m.* (hir—glas) An epithet for a drinking-horn; also the name of a celebrated ode by *Owain Cyfeiliawg*, prince of *Powys*.

Menestr, a'm gorthaw na'm adawed!
Estyn y corn, er cyd yfed,
Hiraethlawn am lyn liw ton nawfed,
Hirlas ei arwydd aur ei dudded.

Cupbearer, what soothes me to silence let it not leave me; reach the horn for the sake of conviviality, impatiently longing for the liquor of the hue of the ninth wave, Hirlas its characteristic, its cover gold. *O. Cyfeiliawg.*

**Hirlid**, *s. m.* (hir—llid) Continued anger.

**Hirlidiad**, *s. m.* (hirlid) A bearing long anger.
**Hirlidiaw**, *v. n.* (hirlid) To bear long anger.
**Hirlidiawg**, *a.* (hirlid) Of long continued anger.

Llywelyn——
Gwrawl hawl hwysgynt hynt hirlidiawg.

Llywelyn of heroic virtue in the career of the *unforgiving* course. *Llygad Gwr.*

**Hirnos**, *s. f.* (hir—nos) A long night.

Eidduned herwr hirnos.

The desire of the fugitive is a *long night*. *Adage.*

**Hirnych**, *s. m.* (hir—nych) A long affliction.
**Hirnychawl**, *a.* (hirnych) Tediously afflictive.
**Hirnychdawd**, *s. m.* (hirnych) Tedious affliction.

Pob hirnychdawd i angeu.

Every *tedious affliction* leads to death. *Adage.*

**Hirnychiad**, *s. m.* (hirnych) A long affliction.
**Hirnychu**, *v. n.* (hirnych) To suffer long affliction
**Hiroddef**, *s. m.* (hir—goddef) Long suffering.
**Hiroed**, *s. m.* (hir—oed) Long abidance.
**Hiroedi**, *v. n.* (hiroed) To abide long; to make a long delay or putting off.
**Hiroediad**, *s. m.* (hiroed) A long-abiding; a delaying for a long time.
**Hiroediawg**, *a.* (hiroed) Of long abidance.
**Hirwlych**, *a.* (hir—gwlych) Incessantly wet.
**Hirwlychu**, *v. a.* (hirwlych) To wet continually. *A'm hirwlych dagrau*, I am continually bathed in tears.
**Hirwlydd**, *s. m. aggr.* (hir—gwlydd) Common hair-moss.
**Hirwlydd**, *a.* (hir—gwlydd) Of continual mildness.

——Y fun, nenwawl ddefnydd,
Ag ym daerawd i draul o dra newydd,
Am amrant hirwron a grudd hirwlydd.

The nymph, of celestial light her frame, has fixed me to consume from excess of surprise, on account of the long-circling eyelash and cheek *ever mild*. *Gwalchmai.*

**Hirwron**, *a.* (hir—gwron) Long-circling.
**Hirwst**, *s. m.* (hir—gwst) Persevering anxiety.
**Hirwyl**, *s. f.* (hir—gwyl) A long watch.
**Hirwylaw**, *v. a.* (hir—wylaw) To weep incessantly, to keep weeping continually.
**Hirwyliad**, *s. m.* (hirwyl) A long watching.
**Hirwyliaw**, *v. a.* (hirwyl) To watch patiently.
**Hitr**, *s. m.* (hid) That is loose, or flaccid.
**Hitrwm**, *s. m. dim.* (hitr) One with broken testicles; a fribble.
**Hityn**, *s. m. dim.* (hid) A sorry fellow, ragamuffin
**Hithau**, *pronom. preposition.* (hi—tau) She also, she likewise, and she.
**HO**, *s. m. r.* Aptness to utter; an exclamation; a call upon, a prayer. *Interjection* of calling, or exclamation. *Ho, ho, ai felly mae!* Oh, oh, is that the way it is!
**Hob**, *s. m.—pl. t.* au (hy—ob) Any thing having an aptness to rise, throw, or swell out; a swine; a measure of various capacities, in different parts of Wales; it is a peck, in Glamorganshire; four bushels, in Caermarthen; and a third of a quarter, in Denbigh.

Hobau y gelwid hwynt, ac weithian moch eu gelwir.

*Porks* were they called heretofore, and now they are called swine. *H. Culhwch—Mabinogion.*

**Hobaid**, *s. f.—pl.* hobeidiau (hob) The contents or capacity of a *hob*.
**Hobel**, *s. m.—pl. t.* au (hob) What hops, or starts suddenly; a bird, or fowl.

Pen hobel yn ymchwelu
A blaen ei ylfin ei blu.

A *bird's* head separating with the end of his bill his feathers. *G. ab M. ab Dafydd, i ddyn pengam.*

Trwch ei lid, tro uwch ei law,
Tra ei ei hobel heibiaw.

Dire is his wrath, hover above him, whilst his *arrow* is going by. *D. ab Gwilym i'r ehedydd.*

**Hobeliad**, *s. m.* (hobel) A hopping, a hobbling.
**Hobelu**, *v. a.* (hobel) To hop, to caper.
**Hobyn**, *s. m.—pl. t.* au (hob) A deal at cards. It is otherwise called *gyr*.
**Hoc**, *s. f.* (hy—oc) A scythe for cutting brambles
**Hoced**, *s. f.—pl. t.* ion (hoc) Cheat, deceit, juggle

Fe wna gwan, o fewn ei garn,
Ryw hocedion i'r cadarn.

The weak, within his retreat, will play some *tricks* to the strong. *T. Aled.*

**Hocedaidd**, *a.* (hoced) Apt to cheat, tricking.
**Hocedawl**, *a.* (hoced) Cheating, tricking.
**Hocediaeth**, *s. m.* (hoced) The act of cheating.
**Hocedlaes**, *a.* (hoced—llaes) Slily cheating.
**Hocedu**, *v. a.* (hoced) To cheat, to deceive.
**Hocedus**, *a.* (hoced) Cheating, deceitful, juggling
**Hocedwr**, *s. m.—pl.* hocedwyr (hoced—gwr) A cheater, or one who plays tricks.
**Hocedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (hoced) A cheater; a cheating knave.
**Hocr**, *s. m.* (hawg) That goes on, or increases.
**Hocrell**, *s. f.—pl. t.* od (hocr) A girl, a wench.

Hocrell fwyn ddiell fain dda.

A kind unblemished *girl* delicate and good. *D. ab Gwilym.*

**Hocrellaidd**, *a.* (hocrell) Like a girl, girlish.
**Hocrellwr**, *s. m.—pl.* hocrellwyr (hocrell—gwr) A wencher.
**Hocys**, *s. pl. aggr.* (hoc) The mallow, otherwise called *meddalai*, or assnager. *Hocys cyffredin*, common mallows; *hocys bendigaid*, hollyhock; *hocys y gors*, *hocys y morfa*, marsh mallows; *hocysen wyllt*, musk mallow; *hocysen y mor*, or *mor-hocysen*, a tree mallow.
**Hoch**, *s. f.* (hy—och) An effort to cast up phlegm.
**Hochi**, *v. a.* (hoch) To hawk, to throw up phlegm
**Hochiad**, *s. m.* (hoch) A hawking up phlegm.
**Hod**, *s. f.—pl.* hotiau (od) A hood, or cap.
**Hodi**, *s. m. aggr.* (hawd) Wild shrubs, or brakes.
**Hodi**, *v. n.* (hawd) To shoot out; to ear; the same as *hedeg* and *hadu*.
**Hodiad**, *s. m.* (hawd) A shooting out, or earing.
**Hodu**, *s. m. dim.* (hawd) That breaks out, or shoots.
**Hodni**, *s. m.* (hodu) The state of breaking, or shooting out; devastation, or ravage.
**Hoddawl**, *a.* (hawdd) Of a flexible, or easy nature
**Hoddiad**, *s. m.* (hawdd) A rendering facile, or flexible; a yielding facility.

Yn elwch, yn heddwch, yn hedd,
Yn hoddiad, yn hawdd faranedd.

In rejoicing, in peace, in tranquillity, in *invitation*, in the ease of the subjects. *Cynddelw.*

**Hoddiaw**, *v. a.* (hawdd) To render facile, to make flexible, or easy; to become easy, or accessible

Cyfred a lludded, a llawdd ioli Creawdr,
A llwyr grefydd i grynöi,
A llafur, a chur, a chorfdori,
A chyfiaw, hoddiaw, hwyliaw heli.

Experience a burden, and with praise adore the Creator, and in perfect faith to increase, with toil, and anxiety, and chastisement of the body, to have dealings, *to facilitate*, to traverse the brine. *Gwalchmai.*

Dyro Dad, yn rhad, enrhydedd difraw,
Deurudd udd, iddaw, a hoddiaw hedd.

Father, to him of placid countenance, freely grant honour free from dread, and *to enjoy* peace. *Sefnyn.*

**Hoe**, *s. f.* (ho) Respite, quiet, rest.

Pump rhinwedd offeren Sul: un yw bod yn hoe dy hoedl.

The five virtues of the Sunday mass; one is that thy life will be *quiet*. *Buchedd Cristion.*

**Hoean**, *s. f.—pl. t.* au (hoe) Respite; ease.

**Hoeana**, *v. a.* (hoean) To take respite, to rest.

**Hoed**, *s. m.* (hy—oed) A stay, a delay; grief on account of absence.

> Cywrain cadwyr cyfarfaant
> Y'nghyd, yn unfryd yd gyrchasant
> Byr eu hoedl, hir eu hoed ar eu carant!
>
> Well trained warriors met together, with one mind they made the assault, short their lives, long their *regret* to their friends! *Aneurin.*
>
> Hiraethawg fy nghof y'nghyweithas,
> Hoed erddi, a mi genti yn gas!
>
> Oppressed with longing is my memory in society, *regret* on her account, and I hated by her! *H. ab Owain.*

**Hoeden**, *s. f.—pl. t.* od (hoed) A coquette.

**Hoedena**, *v. a.* (hoeden) To flirt, to hoiden.

**Hoedenaidd**, *a.* (hoeden) Somewhat hoidenly.

**Hoedenawl**, *a.* (hoeden) Flirting, wanton.

**Hoedenedd**, *s.* (hoeden) Wantonness of a hoiden.

**Hoedl**, *s. f.—pl. t.* au (hoed) Life, the duration of life, or term of existence.

> Yr hoedl, er hyd fo'i haros,
> A dderfydd yn nydd a nos.
>
> *Life*, however long its duration may be, will end in a day and night. *Adage.*

**Hoedlawg**, *a.* (hoedl) Having life, or lived.

**Hoedledd**, *s. m.* (hoedl) The state of living.

**Hoedlfyr**, *a.* (hoedl—byr) Short-lived, mortal.

> Gwyr a grysiasant, buant gydnaid,
> Hoedlfyrion meddwon uch medd hidlaid.
>
> Men hastened to arms, they were of one pace, *short-lived ones*, drunk over distilled mead. *Aneurin.*

**Hoedli**, *v. n.* (hoedl) To live, to lead a life, to pass through life.

> Cynnysgaeth Dofydd i gynnif Dafydd,
> I gynnal ei deithi,
> Gan glod, a gorfod gofri,
> Gwyr, a thir, a hir hoedli!
>
> May the grace of the Supreme be to the prowess of Dafydd, to maintain his prerogatives, with fame and splendid victory, men, and land, and *to live long!* *Gwalchmai.*

**Hoedd**, *s. m.* (hy—oedd) That is forward, or exposed. *a.* Exposed, public.

**Hoeddawl**, *a.* (hoedd) Tending to expose.

**Hoeddi**, *v.* (hoedd) To bring forward, to expose.

**Hoeddiad**, *s. m.* (hoedd) Exposition, a publishing.

**Hoeddus**, *a.* (hoedd) Exposed, or notorious.

**Hoeddusaw**, *v. a.* (hoeddus) To render notorious.

**Hoeddwr**, *s. m.—pl.* hoeddwyr (hoedd—gwr) An exposer, a publisher.

**Hoeg**, *s. f.* (ho—eg) That is pervasive; green.

**Hoel**, *s. f.—pl. t.* ion (haw—el) A nail, spike.

> Penteulu a ddyly——pedair pedol unwaith yn y flwyddyn i gan y gof llys, ac eu to o hoelion.
>
> The patron of the family is entitled to four horse-shoes once in the year from the smith of the palace, and their sets of *nails*. *Welsh Laws.*

**Hoelen**, *s. f. dim.* (hoel) A small nail, a nail.

**Hoeliad**, *s. m.* (hoel) A fastening with nails.

**Hoeliaw**, *v. a.* (hoel) To nail, to fasten with nails.

**Hoeliawg**, *a.* (hoel) Having nails, fastened by nails

**Hoeliedig**, *a.* (hoel) Nailed, fastened with nails.

**Hoeliwr**, *s. m.—pl.* hoelwyr (hoel—gwr) A nailer.

**Hoen**, *s. f.* (ho—en) Complexion; good appearance, good plight; a joyful countenance, gladness; liveliness. *Hoen ewyn llyn*, the hue of the foam of the lake; *hoen blodau haf*, the colour of the summer flowers.

> Rhoes awen im' dros enyd
> A hoen o fewn hyn o fyd.
>
> He gave me for a while the muse, and the *bloom of health* in this transient world. *Parch. D. Llwyd.*
>
> Hael ddidaer wen-glaer haul i win-glawr Mon,
> Hoew-liw manod Ionawr,
> Hun a'm lludd deurudd dyrawr
> Hoen ton ogledd Wynedd wawr.
>
> Bounteous and mild brightly shining and to the wide region of Mon, of the glittering hue of January's drifted snow, my bathed cheeks are debarred of sleep, thou who art of the *complexion* of the northern wave, the luminary of Gwynedd. *G. ab M. ab Dafydd.*

**Hoenaidd**, *a.* (hoen) Somewhat blithesome.

**Hoeni**, *v. n.* (hoen) To become complexional; to grow blithe, or merry.

**Hoenus**, *a.* (hoen) Complexional: of good plight; having a joyful countenance; blithesome.

> Hoenus wyf heno o'i serch.
>
> I am *blithesome* to night with the love of her. *D. ab Gwilym.*

**Hoenusrwydd**, *s. m.* (hoenus) Blithesomeness.

**Hoenwawr**, *s. f.* (hoen—gwawr) A gairish light. *a.* Of a gaily playful light.

**Hoenyn**, *s. m.—pl. t.* au (hoen) A single hair; a springe, or gin; a slip, or leash. *Hoenynau gweithredwyr anwiredd*, the snares of the workers of iniquity.

> O hoenyn i hoenyn ydd â'r march yn gwta.
>
> *Hair* after *hair* the horse loses his tail. *Adage.*

**Hoenynu**, *v. a.* (hoenyn) To set a springe.

**Hoer**, *s. f.—pl. t.* au (hoe) A hair cloth.

**Hoetian**, *v. a.* (hoed) To suspend; to hang in suspense; to dally, to dandle.

**Hoeth**, *a.* (hy—oeth) Notorious, or naked.

> Rhyfelwr——
> Was hoeth ei fodd a'i saeth fain.
>
> The warrior, a *notorious* fellow with his subtile dart. *T. W. Hywel i'r angau.*

**Hoew**, *a.* (hoe) Alert; sprightly, lively; spruce.

> Aderyn Mai——
> Arian farchawg doniawg don,
> Urddawl air ar ddail irion,
> Hoew erddygan a ganai.
>
> The bird of May, like a silver-coloured knight, of great note, and of high authority on the verdant leaves, a *sprightly* air would he sing. *D. ab Gwilym.*

**Hoewad**, *s. m.* (hoew) A rendering alert, or brisk; a becoming brisk, or sprightly.

**Hoewaidd**, *a.* (hoew) Somewhat alert, or brisk.

**Hoewal**, *s. m.* (hoew—al) Agitation of water; the whirling of a stream; an eddy; the waves formed by any thing thrown into the water. *Hoewal y maen* and *lleisiad*, the eddy formed by a rock in the stream.

> Hely'r wyf hoewal yr afon.
>
> I am hunting the *current* of the river. *M. ab Rhys.*
>
> Cynt wyf at Ieuan, lle'r a gan-nyn,
> Nag awel o wynt i'r gwiail yn,——
> Ac no hoewal llif drwy ganol llyn.
>
> I am quicker to Ieuan, where a hundred persons go, than a gale of wind to the branches of the ash, and than the *whirling* of the flood through the middle of the pool. *L. G. Cothi.*

**Hoewal**, *a.* (hoew—al) Whirling, eddying.

> Ef a wnai——
> Hwrdd aflwfr mal hir-ddwfr hoewal.
>
> He would make an assault void of timidity, like the *eddying* torrent. *Cynddelw.*

**Hoewaliad**, *s. m.* (hoewal) A forming eddies.

**Hoewalu**, *v. n.* (hoewal) To whirl in eddies.

**Hoewan**, *a.* (hoew) Sprightly; volatile.

> Yr annuwiawl——
> Hwn o fab hoewan a fydd
> Fal manus ar fol mynydd.
>
> The ungodly one thus so *sprightly* will be like the light chaff on the side of the hill. *W. Middleton.*

**Hoewdaith**, *s. f.* (hoew—taith) A brisk journey.

**Hoewdeb**, *s. m.* (hoew) Alertness, sprightliness.

**Hoewdeg**, *a.* (hoew—teg) Sprightly and fair.

> Hoen Creirwy hoewdeg a'm hudodd mal Garwy.
>
> The complexion of Creirwy *sprightly and fair* has fascinated me like Garwy. *H. ab E. Llygliw.*

**Hoewder**, *s. m.* (hoew) Alertness, sprightliness.

> Nid hoewder ond cleddyf.
>
> The only *sprightliness* is a sword. *Adage.*

**Mabwysiaw,** *v. a.* (mabwys) To adopt as a son.
**Mabwysiawl,** *a.* (mabwys) Relating to the adoption of a child.
**Mabwysiedig,** *a.* (mabwysiad) Adopted as a son.
**Macai,** *s. c.—pl.* maceiod (mag) That breeds, or that is generated; a maggot, or grub; a caterpillar.
**Maceiad,** *s. m.—pl.* maceiaid (macai) A maggot of any kind; a grub; a caterpillar.
**Maceiod,** *s. pl. aggr.* (macai) Maggots, or grubs.
**Macrell,** *s. m.—pl.* mecryll (magr) A mackerel.

Mae'n ei gawell facrelliaid.

There be in his basket *mackerels.* *D. ab Edmwnt.*

**Macrellyn,** *s. m. dim.*(macrell) A small mackerel.
**Macwy,** *s. m.—pl. t.* aid (mag) A youth; a page.

Myned a wnaï i'r maes a dau facwy gyd ag ef.

He went into the field with two *youths* along with him. *H. O. ab Urien—Mabinogion.*

Can diffyrth Trindawd tri macwy o dan,
Trimeib glan glain ofwy——
Credwn iddo.

As the Trinity protected three *youths* from fire, three angel-visited children fair, let us trust to him. *Cynddelw.*

**Mach,** *s. m.—pl.* meichiau (ma—ach) A bail, a surety. *Mach ar gyfraith, mach gorfodawg,* bail to appear in court; *mach cynnogn, mach talu,* a surety for debt; *mach diebrydig,* a surety that proves nugatory.

Dau fach y sydd: mach diebrydig, a mach cynnogn. Mach cynnogn yw yr hwn a el yn fach dros ddyn ni allo sefyll wrth gyfraith; mach diebrydig yw yr hwn ni allo teithiaw ei fechniaeth gyda yr hawlwr.

There are two sorts of *surety*; a frustrative *surety*, and a *surety* of credit. A *surety* of credit is he who shall go as *surety* for a person that can not abide by law; a frustrative *surety* is he who cannot fulfil his suretiship to the prosecutor. *Welsh Laws.*

**Machdaith,** *s. f.—pl.* machdeithiau (mach—taith) A course of security; a dam, or embankment.

Poed emendigaid y fachdaith;
A'i gollyngodd, gwyd y gwaith!
Ffynawn fenestr mor ddiffaith!

Accursed be the *embankment*; that opened it, evil the act! what a devastating server of a'spring! *Canu C. Gwaelawd.*

**Machiad,** *s. m.* (mach) A making sure; a securing
**Machlud,** *s. m.* (mach—llud) A setting, or going down. *Machlud haul,* sun-set.
**Machludaw,** *v. n.* (machlud) To set, or to become obscured, as the sun.
**Machludawl,** *a.* (machlud) Setting as the sun.
**Machludiad,** *s. m.* (machlud) An occultation.
**Machludiaeth,** *s. m.* (machlud) The state of being covered over, or in occultation.
**Machludiant,** *s. m.* (machlud) An occultation.
**Machraith,** *s. f.—pl.* machreithiau (mach—rhaith) The law of suretiship.
**Machydr,** *a.* (mach) That is a pledge, or surety.

Twn ni wnaeth Mab Duw, da yw mydr, heb gam
Ar ddinam fam fachydr.

There has not been made imperfect by the Son of God, fair the theme, without wrong, upon a faultless mother a *surety.* *Anon.* 1350.

**Mad,** *s. m.—pl. t.* ioedd (ma—ad) What proceeds, advances, or goes forward; a term for the reptile class of animals; what is good, or beneficial; a good, a benefit; a good turn. *Heb rad na mad,* without grace or goodness. *Y fad felen,* a creature of a yellow colour and very beautiful, which is often mentioned by the poets; and some have supposed it to be the basilisk. It is frequently used in the same sense with *Y fall felen,* or the yellow plague; and it is said to have killed *Maelgwn Gwynedd,* king of the Britons.

A wnel mad mad a ddyly.

He that doth *good* to him *good* is due. *Adage.*

Mataf gil gwired.

The *most beneficial* expedient is truth. *Adage.*

Y fad felen oedd braw'
Yn deg, heb un arwydd da.

The *yellow serpent* was principally fair, without one good token. *R. Udn.*

Os hardd heb gel fad felen,
Harddach a gwynach yw gwen.

If beautiful without disguise the *yellow serpent,* more beautiful and fairer is my love. *T. Prys.*

**Mad,** *a.* (ma—ad) Proceeding, or advancing; progressive; good, beneficial.

Nid mad un ni bu Gymmro.

No one is *good* who has not been a Welshman. *Adage.*

Dyro ran i'th wan, wynfyd wrthddrych hawl,
O'th wlad fad feidriawl, er mawl mynych.

Give a portion to thy supplicant, of the expected claim of happiness, thy *good* and comprehensive kingdom, for constant praise. *Casnodyn.*

**Madaidd,** *a.* (mad) Of a progressive tendency; of a beneficial tendency; goodly.
**Madalch,** *s. m.* (mad—alch) The agaric.
**Madalchaidd,** *a.* (madalch) Like agaric; of a tough, or leathery quality.
**Madarch,** *s. m. aggr.* (mad—arch) The toadstool.
**Madarchaidd,** *a.* (madarch) Like the toadstool.
**Madarchen,** *s. f. dim.* (madarch) Porous toadstool
**Madarchu,** *v. n.* (madarch) To generate toadstool
**Madawg,** *a.* (mad) Tending forward; having benefit, or advantage; goodly. *s. m.—pl.* madogod. An epithet for a fox, equivalent to the word reynard. It is also a very common name of men.

Llwyd dy gloc, fy llatai glan,
Madawg was bywiawg buan.

Brown is thy cloak, my neat messenger of love, *reynard,* thou swift and lively chap. *I. ab Rhys ab Morus.*

**Madawl,** *a.* (mad) Tending to advance; benefiting
**Mad-ddall,** *s. f.—pl. t.* od (dall) The blindworm.
**Madedd,** *s. m.* (mad) Bounteousness; goodness.
**Maden,** *s. f. dim.* (mad) A little she fox, a vixen.
**Madfall,** *s. f.—pl. t.* od (mad—mall) A newt.
**Madfanawg,** *s. m.* (mad—banawg) Eminently beneficial.

Tri madfanogion byd: bardd, fferylit, ac ammaeth.

The three beneficent ones of the world: a bard, a metallurgist; and a husbandman. *Trioedd.*

**Madfelen,** *s. f.* (mad—melen) The knapweed; also called *pengaled.*
**Madgall,** *s. f.—pl. t.* od (mad—call) The lizard; also called *Genau goeg.*
**Madgyrfinydd,** *s. m.—pl. t.* ion (corf) One who puts together well, a good inventor.
**Madgyflafan,** *s. f.* (mad—cyflafan) A violent deed, or outrage, committed with a good intention; also violence that is productive of good; or the deed of a Scævola.
**Madiad,** *s. m.* (mad) An advancing onward: a being productive; a benefiting; a being good.
**Madiain,** *a.* (mad) Productive of good, apt to do good, beneficent, bounteous. *Creawdr madiain,* a bounteous Creator.

Arwyrain madiain modur, aur anaw,
Oronwy fab Tudur,
Arfod air pair Peredur,
Arf yn ing, aer dirting dur.

Celebrate the *beneficent* leader, thou golden muse, Goronwy the son of Tudur, with a word meet for the occasion of the lore of Peredur, the weapon in the difficulty, the vehement toil of steel. *G. ab M. ab Dafydd.*

Echrys par llachar, lluch gyfwyrain gawr
Lluoedd gwawr mawr madiain;
Gryd orddwy, grym fwyfwy lirain;
Glyw llywiaw llewenydd cyngrain.

Terrible the gleaming spear, spreading the shout of acclamation of the hosts of the splendid one great and *beunteous;* the dread of a tyrant, of increasing energy and glorious: a general directing the joy of the united band. *Cynddelw, i H. ab Owain.*

**Madlywydd**, *s. m.* (mad—llywydd) Patriot prince.

> Namyn Duw nid madlywydd.
>
> There is no *good governor* but God. *Adage.*

**Madolaeth**, *s. m.* (madawl) A benefiting state.

**Madoreilid**, *s. f.* (goreilid) A praiseworthy molestation. *v. a.* To disturb worthily.

**Madoreilitiwr**, *s. m.—pl.* madoreilitwyr (madoreilid—gwr) One who worthily disturbs.

> Un o dri madoreilitiwyr ynys Prydain: Prydain ab Aedd Mawr yn goreilid y ddraig ormes; sef oedd hono anrhaith a difrawd a faged yn ynys Prydain.
>
> One of the three *praiseworthy opposers* of the isle of Britain: Prydain the son of Aedd the great disturbing the tyrannical grievance: that was anarchy and devastation generated in the isle of Britain. *Trioedd.*

**Madr**, *a.* (mad) That is become pus.

**Madraidd**, *a.* (madr) Tending to dissolve; tending to fester.

**Madrawg**, *a.* (madr) Having a tendency to dissolve, of a watery nature; full of pus.

**Madrawl**, *a.* (madr) Tending to dissolve.

**Madredd**, *s. m.—pl. t.* ion (madr) Matter that is dissolved; what is generated by putrefaction, pus, or purulent matter; also a quitter.

**Madreddawg**, *a.* (madredd) Abounding with pus, or matter; putrescent; sanious. *Wy madreddawg*, an addle egg.

**Madreddawl**, *a.* (madredd) Putrefactive.

**Madreddiad**, *s. m.* (madredd) A putrifying.

**Madreddu**, *v. n.* (madredd) To generate pus or matter; to fester; to putrify, to rot.

**Madriad**, *s. m.* (madr) A turning to a dissolved state; a producing matter; a festering.

**Madroedd**, *s. pl. aggr.* (madr) Dissolved bodies; putrid bodies; a charnel-house. *Mal y fadroedd*, like a charnel-house.

**Madregi**, *v. n.* (madrawg) To become full of matter or pus.

**Madron**, *s. pl. aggr.* (madr) Humours; watery matter.

**Madrondawd**, *s. m.* (madron) A watery humour; swimming of the head; dizziness, giddiness, stupefaction; astonishment.

**Madronedd**, *s. m.* (madron) A dissolved state.

**Madroni**, *v. a.* (madron) To form a watery humour; to make dizzy, or giddy; to stupify; to become dizzy.

**Madroniad**, *s. m.* (madron) A generating humours; a forming water in the head; a causing a swimming in the head.

**Madru**, *v. n.* (madr) To dissolve; to become matter or pus; to putrify, to rot; to generate matter, to fester.

**Madrudd**, *s. m.—pl. t.* ion (madr) Marrow.

> Rhag Geraint gwelais drablludd—
> Ac ar ran cyurau madrudd.
>
> Before Geraint I saw combustion, and a chieftain's brow, covered with *marrow*. *Llywarch Hen.*

**Madruddaidd**, *a.* (madrudd) Like marrow.

**Madruddaw**, *v. n.* (madrudd) To form marrow.

**Madruddawg**, *a.* (madrudd) Having marrow.

**Madruddawl**, *a.* (madrudd) Of the nature of marrow.

**Madruddiad**, *s. m.* (madrudd) A marrowing.

**Madruddyn**, *s. m. dim.* (madrudd) A marrow, or a separate body of marrow. *Madruddyn y cefn*, the spinal marrow.

**Madrwy**, *s. f.—pl. t.* od (mad—rhwy) A newt.

> Ydd oeddwn mewn cors halog-front yn mysg amwyd, medrwyod, llyffain, nadredd, gwiberod, a phryfed gwenwynig.
>
> I was in a filthy and corrupt bog amongst grubs, newts, frogs, snakes, vipers, and venomous insects. *Marchawg Crwydrad.*

**Madryn**, *s. m. dim.* (madr) An epithet for a fox. *Madryn dusw*, a fox's tail.

**Madu**, *v. a.* (mad) To cause to proceed; to send; to suffer to go off; to render productive, or beneficial; to become beneficial.

**Madus**, *a.* (mad) Beneficent; beneficial, good.

**Madusaw**, *v. a.* (madus) To render beneficial; to become beneficent.

**Madw**, *a.* (mad) Tending to inertness.

**Madwr**, *s. m.—pl.* madwyr (mad—gwr) A beneficent person.

**Madws**, *s. m.* (mad—ws) Full time, fullness of time; season, or opportunity. *adv.* It is time. *Madws yw*, it is time, it is opportune.

> Diwedd-fyd nid oedd fadws;
> Och i'r dref, na chauai'r drws!
>
> The end of the world was not *opportune*; fie upon the *town*, that it would not shut the gate! *I. ab H. Swrdwal.*
>
> Madws iti ymadael
> O'r byd hwn, a'r bywyd hael,
> A myn'd i'r nef, gartref geru,
> Ne i affaith tan uffern.
>
> *It is time* for thee to depart out of this world, and the generous living, and to go to heaven, the home of spirits, or to feed the fire of hell. *T. Prys.*

**Madyn**, *s. m. dim.* (mad) An epithet for a fox.

**Madywydd**, *s. m. aggr.* (madw—gwydd) The sweetgale.

**Madd**, *s. m.* (my—add) That is of a divestigating tendency.

**Madda**, *v. a.* (madd) To be about divestigating.

**Maddau**, *s. m.* (madda) A setting at large, a liberating; a dismissal; a quittal; pardon.

**Maddau**, *v. a.* (madda) To let go, to set at large, to loosen; to liberate; to dismiss; to quit, to leave, to forsake; to forgive, to pardon, or to remit. *Enaid faddau*, that is about to let the soul depart, or one whose life is forfeited.

> Y dyn a laddo arall â gwenwyn, galanas deuddyblyg a dâl, canys ffyrnig yw; a bid enaid faddau am y naill, a'r llall ar ei genedl; a'i ddihenydd fydd yn ewyllys yr arglwydd, ai ei losgi, ai ei grogi a fyno.
>
> The person who shall kill another with poison, a twofold fine for felony shall be paid, for he is outrageous; and let him *be divestigating* of soul with respect to one, and the other upon his family; and his death shall be at the will of the sovereign, whether he will have him burnt, or will have him hanged. *Welsh Laws.*
>
> Llefawdd yr Iesu drachefn â llef uchel, ac efe a faddeuawdd yr ysbryd.
>
> Jesus cried again with a loud voice, and *he gave up* the spirit. *W. Salisbury.*
>
> Maddeuesont eu rhwydau.
>
> *They left* their nets. *W. Salisbury.*

**Maddeu**, *s. m.* (madda) A dismissal; a quittal; a pardon, or forgiveness.

**Maddeu**, *v. a.* (madda) To let go, to liberate; to dismiss; to quit, to leave, to forgive.

**Maddeuad**, *s. m.* (maddeu) A letting go, a setting at large, a loosening, a liberating; a dismissing; a quitting, or leaving; a forgiving, remitting, or pardoning.

**Maddeuadwy**, *a.* (maddeuad) That may be set at large, or liberated; dismissible; remissible, pardonable.

**Maddeuain**, *a.* (maddeu) Full of a liberal or forgiving disposition.

**Maddeuannawl**, *a.* (maddeuant) Of a liberal or forgiving disposition.

**Maddeuanniad**, *s. m.* (maddeuant) A causing a remission, or pardon.

**Maddeuannu**, *v. a.* (maddeuant) To cause a remission, or forgiveness.

**Maddeuannus**, *a.* (maddeuant) Of a liberal or forgiving disposition.

Maddeuannusaw, *v. a.* (maddeuannus) To render of a liberal nature; to become of a liberal or forgiving disposition.

Maddeuant, *s. m.* (maddeu) The act of letting go; liberation; dismission; remission.

Lle bo pur gyfeilliach rhaid bod aml faddeuant o bobtu.

Where true friendship subsists there must be great *forgiveness* on both sides. *Maxim.*

Maddeuaw, *v. a.* (maddeu) To set at large, to remit; to dismiss; to leave; to forgive.

Ni maddeuaf di, Ddafydd,
Er naw o Ifor a Nudd.

*I will* not *leave* thee, David, for nine of the Ivors and the Nudds. *L. G. Cothi.*

Maddeuawd, *s. m.* (maddeu) Dismission.

Maddeuawg, *a.* (maddeu) Having a dismissal; having remission, or pardon.

Maddeuawl, *a.* (maddeu) Tending to set at large; tending to quit, forgiving.

Maddeuedig, *a.* (maddeuad) Being liberated; pardoned, or forgiven.

Maddeuedigaeth, *s. m.* (maddeuedig) The act of setting at large; a quitting; a remission.

Maddeuedigaw, *v. a.* (maddeuedig) To render at large; to render forsaken; to be pardoned.

Maddeuedigawl, *a.* (maddeuedig) Of a liberating tendency; tending to forgive.

Maddeugar, *a.* (maddeu) Apt to let go or to set at large; disposed to remit, forgiving.

Maddeugarwch, *s. m.* (maddeugar) Forgiveness.

Maddeuwr, *s. m.—pl.* maddeuwyr (maddeu—gwr) One who sets at large; one who leaves; a pardoner.

Maddeuydd, *s. m.—pl. t.* ion (maddeu) A liberator; a dismisser; a forsaker; a forgiver.

Mae, *v. n.* (ma) Be; is; are. *Mae dyn yn ddrwg,* man is wicked; *mae y fuwch wrth ben ei hal,* the cow is just about calving. *Dyfed.*

Mae wedi myned yn abred gwyllt.

*It is* become a wild chaos. *Adage.*

Mae, *adv.* (ma) There be; there is; it is; he is; she is; also for *pa le mae,* where is. *Mae dyn yma,* there is a man here; *mae nhw, mae nhwy, maent, maent hwy,* they are.

Yn mhob dyn y mae enaid;
Yn mhob enaid y mae deall.

In every living being *there is* a soul; in every soul *there is* understanding. *Adage.*

Mae Abel dy frawd?

*Where is* Abel thy brother? *Gen.* 4. 9.

Mae fy ngweision drwg a'm direitwyr? dyrchefwch y ffyrch y dan fy dwy ael a ddygwyddawdd ar fy llygaid, hyd pan welwy defnydd fy'n daw.

*Where are* my lazy servants and my mischievous chaps? Set up the props under my two brows which have fallen over my eyes, so that I may see the form of my son-in-law. *H. Culhwch—Mabinogion.*

Maedd, *s. m.* (my—aedd) A buffet, a beating.

Maeddawd, *s. m.* (maedd) The act of buffeting.

Maeddawl, *a.* (maedd) Buffeting, or banging.

Maeddedig, *a.* (maedd) Beaten, or thumped.

Maeddedigaeth, *s. m.* (maeddedig) The act of beating about, buffeting, or banging.

Maeddgen, *s. f.—pl. t.* ion (maedd—cen) A buffet on the head.

Cadw Brydain, Arglwydd hael,
Rhag iddi gael maeddgenon.

Preserve Britain, gracious Lord, lest it should have *buffetings.* *Harri William.*

Maeddgeniad, *s. m.* (maeddgen) A buffeting, or beating about the head.

Maeddgenu, *v. a.* (maeddgen) To buffet about the head; to box the ears.

Maeddiad, *s. m.* (maedd) A beating, a thumping.

Maeddu, *v. a.* (maedd) To beat, to strike, to thump, to bang, to buffet about. *Maeddu peer,* and *malu ewyn,* to foam at the mouth.

Diwydiach fal y dywedynt,
Fydd gwas wedi faeddu gynt.

More diligent, as they say, will a servant be after he has been formerly *beaten.* *G. ab Ll. Moel.*

Maeddwr, *s. m.—pl.* maeddwyr (maedd—gwr) One who buffets about or bangs; a beater.

Mael, *s. f.—pl.* meilion (ma—el) What is produced, obtained, or got by working; gain, profit, advantage; what is worked; work; what is extracted as metal; iron, which was the only metal known when the word was first used in that sense. *Mae hyn yn fael iddo,* this is an advantage to him; *Gwyr mael,* the men on duty, the domestic, or body guards of the prince; also a farthing. *Mael* forms many proper names of men, as *Maeldaf, Maelderw,* or *Derfael, Maelgad,* or *Cadfael, Maelgwn,* or *Cynfael, Maelog, Maelwg,* and *Maelyrus.*

Yn Elfael, dir mael y medd,
Am daro y mae dewredd.

In Elfael, the land of *profit* and of mead, there is bravery for the conflict. *L. G. Cothi.*

Dur a mael oedd drwy 'mylau—
Ei lafn.

Steel and *iron* were through the edges of the blade. *I. Tew.*

Maela, *v. a.* (mael) To get advantage, to gain.

Maelawd, *s. m.* (mael) The act of turning to profit, advantage, or gain.

Maelawg, *a.* (mael) Abounding with produce. *s. f.* A place of traffick, a market; a mart. It is also the name of men, and of places.

Maelawr, *s. f.—pl.* maelorau (mael) A place of traffick, a mart, or market. There are districts so called in the marches of Wales, which were neutral grounds, where trade was carried on.

Cas maelawr heb goedydd.

Odious is a *district* without woods. *Catwg.*

Maeldref, *s. f.—pl. t.* i (mael—tref) A market town. There are places so called.

Maeldy, *s. m.—pl. t.* au (mael—ty) A house of trade, commerce, or traffick.

Maeledig, *a.* (mael) Produced by work.

Maeler, *s. m.—pl. t.* ion (mael) That gets.

Maelera, *v. a.* (maeler) To traffick, to trade.

Maelerfa, *s. f.—pl. t.* oedd (maeler) A place of traffick, a mart, or market.

Maeleri, *s. m.* (maeler) Traffick, or trade.

Maeleriad, *s. m.* (maeler) A merchandizing.

Maeleriaeth, *s. f.* (maeler) The business of a merchant, or chapman.

Maeleriai, *s. c.* (maeler) A trafficker, a trader.

Maeleriaw, *v. a.* (maeler) To traffick, to trade.

Maeleriwr, *s. m.—pl.* maelerwyr (maeler—gwr) A trafficker, a trader.

Maeleru, *v. a.* (maeler) To traffick, to trade.

Maelfa, *s. f.—pl. t.* oedd (mael) A market, a mart.

Maelged, *s. f.—pl. t.* ion (mael—ced) A tribute.

Maelgi, *s. m.—pl. t.* on (mael—ci) The angel-fish.

Maeliad, *s. m.* (mael) A toiling for gain; a profiting, or gaining.

Maeliannawl, *a.* (maeliant) Tending to profit, of an advantageous tendency.

Maeliannu, *v. n.* (maeliant) To get profit.

Maeliannwr, *s. m.—pl.* maeliannwyr (maeliant—gwr) One who profits.

Maeliant, *s. m.* (mael) Advantage, or gain.

**Maeliaw**, *v. a.* (mael) To obtain a produce; to get by work or labour: to get advantage, to gain, to profit, to get a profit.

Gwn fod teulawyr——
Gwynedd i'w moli; gwn, iddi maelant.

I know that the courteous men of Gwynedd do praise her; I know, to her *they procure benefit*. *D. ab Edmwnt.*

**Maelier**, *s. m.—pl. t.* on (mael) That obtains, that profits; a gainer, a profiter; a merchant; a chapman.

Maelier y gerdd, a'i molawd,
Yw Iorwerth, a werth ei wawd.

A *trafficker* in song, and its praise, is Iorwerth, who sells his muse. *D. ab Gwilym.*

**Maeliera**, *v. a.* (maelier) To traffick, to trade.
**Maelierad**, *s. m.* (maelier) A trafficking, a trading
**Maelieraeth**, *s. f.* (maelier) A trafficking.
**Maelierai**, *s. c.* (maelier) One who trafficks.
**Maelierawd**, *s. f.* (maelier) An act of traffick.
**Maeliereg**, *s. f.* (maelier) That relates to traffick. *Cyllell faeliereg*, a chopping knife.
**Maelieres**, *s. f.—pl. t.* au (maelier) A female merchant; a chap-woman.
**Maelierfa**, *s. f.—pl. t.* on (maelier) A mart.
**Maelieru**, *v. a.* (maelier) To traffick, to trade.
**Maelierydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maelier) A trafficker
**Maelieryn**, *s. m. dim.* (maelier) A petty trader.
**Maeliwr**, *s. m.—pl.* maelwyr (mael—gwr) A regrater; or badger.
**Maelota**, *v. a.* (maelawd) To gain by traffick, to gain, or make a profit. *Sil.*
**Maelotai**, *s. c.—pl.* maeloteion (maelota) A regrater, a chapman.
**Maeloteiaeth**, *s. m.* (maelotai) The practice of a regrater, the occupation of a trafficker.
**Maelotyn**, *s. m. dim.* (maelawd) A petty trader.
**Maelwg**, *s. m.* (mael) Traffick, or trade.
**Maelwr**, *s. m.—pl.* maelwyr (mael—gwr) A regrater; a badger.
**Maelydd**, *s. m.—pl. t.* ion (mael) A regrater.
**Maen**, *s. m.—pl.* meini (ma—en) A fixt principle, or substance; a stone; a block of stone. *Maen cellt*, a flint stone; *maen clais*, or *maen mynor*, marble; *maen ehed*, *maen tynu*, or *ehedfaen*, a loadstone; *maen melin*, a millstone; *maen breuan*, a quern-stone; *maen gwn*, a bullet; *maen glain*, or *maen magl*, the adder-stone; *maen llifaw*, or *maen addwyn*, a grindstone; *maen clo*, a key stone; *maen ffin*, a boundary stone; *maen taran*, a thunderbolt; *maen tostedd*, a stone in the bladder; *maen sigl*, *maen ysgwyd*, or *maen chwyfain*, a rocking stone; *maen gwerthfawr*, a precious stone; *maen cawad*, a shower stone, and *maen gwlaw*, a rain stone, names for the crystal, which used to be rolled for procuring rain; and hence, probably, the *manalis lapis* of the Romans.

Mâl gwaith Maen Ceti.

Like the labour of the *Stone* of Ceti. *Adage.*

Mal eiry Mawrth ar ben maen

Like the snow of March on the top of a *stone*. *Adage.*

Y fun——
A'i mwnwgl oll fal maen gwlaw.

The nymph with her neck altogether like the *rain stone*. *R. Brwynllys.*

**Maenad**, *s. m.* (maen) A stoning; petrifaction.
**Maenaidd**, *a.* (maen) Like a stone; stony.
**Maenan**, *s. f. dim.* (maen) Any imperfect kind of stone; the cob, a substance lying upon coal; a kind of marl; also the slaty stone of which slate pencils are made; also a term for a district bound by stone mears, or a manor, which is otherwise called *maenawr*, and *maenawl*.
**Maenawg**, *a.* (maen) Having stone; stony.
**Maenawl**, *a.* (maen) Of stone, belonging to a stone
**Maenawr**, *s. f.—pl.* maenorau (maen) A district marked by a stone boundary, a manor.

Saith dref sydd yn y faenawr fro, tair tref ar ddeg yn maenawr wrthdir.

There are seven townships in a *manor* of a cultivated region, and thirteen townships in an upland *manor*. *Welsh Laws.*

Goreu maenawr gwlad fawr Fon.

The best *manor* is the ample country of Mona. *L. G. Cothi.*

**Maendo**, *s. m.* (maen—to) A stone covering; a sepulchre.
**Maendöad**, *s. m.* (maendo) A covering with stone
**Maendöi**, *v. a.* (maendo) To cover with stone.
**Maendöwr**, *s. m.—pl.* maendowyr (maendo—gwr) A coverer with stone, a slater.
**Maendöydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maendo) A slater.
**Maendrwch**, *s. m.* (maen—trwch) Lithotomy.
**Maendrychiad**, *s. m.* (maendrwch) A cutting for the stone, or lithotomy.
**Maendrychu**, *v. a.* (maendrwch) To cut for the stone; to practise lithotomy.
**Maenddeota**, *s. m.* (maen—deawd) Lithotomy.
**Maenddeoti**, *v. a.* (maenddeota) To practise lithotomy, to cut for the stone.
**Maeneiddiad**, *s. m.* (maenaidd) Lapidification.
**Maeneiddiaw**, *v. a.* (maenaidd) To turn to a stone, to make like a stone; to petrify.
**Maeneiddiawl**, *a.* (maenaidd) Lapidescent.
**Maenfan**, *s. f.* (maen—man) The beasil of a ring.
**Maenfedd**, *s. f.—pl. t.* i (maen—bedd) A stone sepulchre.
**Maenfur**, *s. m.* (maen—mur) A stone wall.
**Maengaer**, *s. f.* (maen—caer) A rampart of stone.
**Maenglawdd**, *s. m.—pl.* maengloddiau (maen—clawdd) A stone-quarry.
**Maenhad**, *s. m.* maen—had) The gromwell.
**Maeniad**, *s. m.* (maen) A stoning; a petrifying.
**Maenol**, *s. f.—pl. t.* ydd (maent—ol) A dale.
**Maensaer**, *s. m.—pl.* maenseiri (maen—saer) A stone-mason.
**Maenu**, *v. a.* (maen) To produce a stone; to turn to stone, to petrify; to stone, or to beat with stones. *Gwnaed ei faenu yn irad*, he was terribly mangled. *Sil.*
**Maenwr**, *s. m.—pl.* maenwyr (maen—gwr) A stoner; a lapidary.
**Maenydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maen) A lapidary.
**Maer**, *s. m.—pl.* meiri (ma—er) That is stationed; one that looks after, or tends; that keeps, or guards; a provost, or mayor; a bailiff. *Maer y biswal*, the keeper of the cow lare, the land steward.

Cosbi y maer yn mhen y dref.

Punishing the *mayor* at the head of the town. *Adage.*

Myfi yw——
Maer dy dda, mawr yw dy ddawn.

I am the *looker after* thy chattels; great is thy store. *D. ab Gwilym.*

Maer y biswal a biau barotoi boll gyfreidiau y llys.

The land *steward* has to prepare all the necessaries of the palace. *Welsh Laws.*

**Maerdref**, *s. f.—pl. t.* i (maer—tref) A tending town, or a district that is under a bailiff; the royal domain, under the care of the *maer y biswal*. There are several places of this name.
**Maerdy**, *s. m.—pl. t.* au (maer—ty) The house of a mayor, or land steward. There are some houses bearing this name.

**Maeres**, *s. f.—pl. t.* au (maer) A female who tends, or looks after; a dairy-woman.

**Maeron**, *s. m.—pl. t.* ydd (maer) One who tends, keeps or looks after; one who has custody; also a dairy-farmer. *Sil.*

**Maeronaeth**, *s. m.* (maeron) A place, or office of custody; a prefecture; a government; also the occupation of the dairy.

**Maerones**, *s. f.—pl. t.* au (maeron) A female who superintends, or has custody; an epithet for a godmother in the Armoric dialect; also a dairy-woman.

**Maeroni**, *s. m.* (maeron) A superintendency; the office of a keeper, or one who has custody; a mayoralty; also the occupation of a farmer.

Nid mynechtid maeroni.

*Husbandry* is no monkery. *Adage.*

**Maeroniaeth**, *s. m.* (maeroni) Superintendency; dairy-work.

**Maeronwr**, *s. m.—pl.* maeronwyr (maeron—gwr) A man who tends, or is stationed to look after; a dairy-man.

Cell maeronwr ei fuarth.

The *dairyman's* parlour is his fold. *Adage.*

**Maeronydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maeron) One stationed to tend, or to look after; a dairy-man.

**Maerwr**, *s. m.—pl.* maerwyr (maer—gwr) A tender, or looker after; a dairy-man.

**Maerwraig**, *s. f.—pl.* maerwreigedd (maer—gwraig) A woman who tends; a dairy-woman.

**Maerwri**, *s. m.* (maerwr) The office of a looker after, or keeper; a dairy farm.

**Maerwriaeth**, *s. m.* (maerwr) The occupation of a tender of cattle, or of a dairy-man.

**Maerydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maer) A tender, or keeper; a dairy-farmer.

**Maes**, *s. m.—pl.* meusydd (ma—es) That is spacious, clear, or open; an open region; a plain, an open field. *Càd ar faes*, a pitched battle; *colli y maes*, to lose the field, or to lose the battle.

Achub maes mawr a dryg-farch.

To win a great *field* with a bad horse. *Adage.*

Ac ef digones
Budd coed a maes.

And he caused the produce of wood and *field*. *Taliesin.*

**Maes**, *prep.* (ma—es) Out, without, or outward; outside. *adv.* Out, or outward; from within, in a state of disclosure, in an outward state *Mae y dyn faes ei gof*, the man is out of his wits; *awn i faes*, let us go out; *maes o law*, out of hand. *Maes* is most prevalent in the South Wales dialects, and *Allan*, in those of North Wales.

**Maesa**, *v. a.* (maes) To turn out; to take the field; to evacuate.

Tra bo y ci yn maesa ydd â y geinach i'r coed.

Whilst the dog *evacuates* the hare will get into the wood. *Adage.*

**Maesai**, *s. c.—pl.* maeseion (maes) One of the field; a campaigner.

**Maesaidd**, *a.* (maes) Like a field or plain.

**Maesawl**, *a.* (maes) Belonging to the field.

**Maesdref**, *s. f.—pl. t.* i (maes—tref) A villa.

**Maesdir**, *s. m.* (maes—tir) Champaign land.

Tri phren a ddyly pob adeilwr maesdir eu caffael i gan y neb y bieuffo y coed, myno y coedwr na myno, nid amgen, nenbren, a dwy nenfforch.

Three pieces of timber ought every builder on *open land* to have from him who owns the wood, whether the woodman is agreeable or not agreeable; namely, a roof beam, and two roof supporters. *Welsh Laws.*

**Maesfil**, *s. m.* (maes—mil) A beast of the field.

**Maesiad**, *s. m.* (maes) A going to the field.

**Maessyng**, *v. a.* (maes—sang) To trample about.

**Maeswellt**, *s. m.* (maes—gwellt) Bent-grass.

**Maeswr**, *s. m.—pl.* maeswyr (maes—gwr) A field-man, or a man of the field.

**Maeth**, *s. m.—pl. t.* ion (my—aeth) Cherishment, nurture, nourishment; fosterage. *Tad maeth*, a foster-father; *mam faeth*, a foster-mother.

Aeth anwir ar faeth ennyd:
Aeth y gwir ar feth i gyd.

Falsehood is taken to *fosterage* awhile; the truth is altogether gone to nought. *Ior. Fynglwyd.*

Y cerddwyr ar benceirddiaeth
I'r haelion fydd meibion maeth.

The minstrels who are chief of song will be *foster* sons of the generous. *L. G. Cothi.*

**Maetha**, *v. a.* (maeth) To gather nourishment.

**Maethai**, *s. c.—pl.* maetheion (maeth) One who cherishes, or fosters.

**Maethaidd**, *a.* (maeth) Tending to nourish.

**Maethawd**, *s. m.* (maeth) Cherishment, nurture.

Drwg yw——
Am wybod o'r maethawd maith,
Euraid dymhor, yr aid ymaith!

It is a misfortune, after experiencing such ample *comfort*, that thou shouldest go away, thou golden season! *D. ab Gwilym, i'r haf.*

**Maethawg**, *a.* (maeth) Having nourishment.

**Maethawl**, *a.* (maeth) Cherishment, nutritive.

**Maethdad**, *s. m.* (maeth—tad) A foster-father.

**Maethdy**, *s. m.—pl. t.* au (maeth—ty) A nursing-house, or nursery.

**Maethedig**, *a.* (maeth) Nourished, fostered.

**Maethedigaeth**, *s. m.* (maethedig) Nutrication.

**Maethedigawl**, *a.* (maethedig) Nutritive.

**Maethen**, *s. f.* (maeth) A pampered female.

Ymaith ing, fammaeth angau!
Maethen front, ymaith yn frau!

Directly be gone, thou foster-mother of death! Thou filthy *pampered one*, abruptly avaunt! *Sils ab Sion.*

**Maethfa**, *s. f.—pl. t.* oedd (maeth) A nursery.

**Maethfab**, *s. m.—pl.* maethfeibion (maeth—mab) A nursed child; a foster-son.

**Maethfam**, *s. f.—pl. t.* au (maeth—mam) A foster-mother; a nurse.

**Maethferch**, *s. f.—pl. t.* ed (maeth—merch) A foster-daughter.

**Maethgar**, *a.* (maeth) Apt to cherish; fostering.

**Maethgarwch**, *s. m.* (maethgar) Nutritiousness.

**Maethiad**, *s. m.* (maeth) A cherishing, a nourishing; a fostering; nutrition.

**Maethiadawl**, *a.* (maethiad) That is nourishing.

**Maethiadu**, *v. a.* (maethiad) To render nourishing; to become nutritive.

**Maethiadus**, *a.* (maethiad) That is nutritive.

**Maethiannaidd**, *a.* (maethiant) Tending to feed.

**Maethiannawl**, *a.* (maethiant) Nutrimental.

**Maethianniad**, *s. m.* (maethiant) Nutrication.

**Maethiannu**, *v. a.* (maethiant) To cause nutriment; to become a nutrition.

**Maethiannus**, *a.* (maethiant) Nutrimental.

**Maethiannusaw**, *v. a.* (maethiannus) To render nutrimental; to become nutritions.

**Maethiannusrwydd**, *s. m.* (maethiannus) Nutritiousness; a state of nourishment.

**Maethiannwr**, *s. m.—pl.* maethiannwyr (maethiant—gwr) One who gives nourishment.

**Maethiant**, *s. m.—pl.* maethiannau (maeth) Nutrition, nourishment.

**Maethiator**, *ger.* (maethiad) In nourishing.

**Maethid**, *s. m.* (maeth) Nurture; feeding.

**Maethidiawl**, *a.* (maethid) Nutrimental.

**Maethiedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (maethiad) A cherisher, a nourisher, a fosterer.
**Maethiedyn**, *s. m. dim.* (maethiad) One who is nourished, or pampered up.
**Maethineb**, *s. m.* (maeth) Nourishment.
**Maethitor**, *sup.* (maeth) To be nourishing.
**Maethle**, *s. m.—pl. t.* oedd (maeth—lle) A nursing place, a nursery.
**Maethlyd**, *a.* (maeth) Being much nursed or fed.
**Maetholedd**, *s. m.* (maethawl) Nutritiousness.
**Maetholrwydd**, *s. m.* (maethawl) Nutritiousness.
**Maethran**, *s. f.* (maeth—rhan) A company of people who live or mess together.
**Maethu**, *v. a.* (maeth) To cherish, to nourish, to nurse, to foster; to feed.
**Maethus**, *a.* (maeth) Alimentary, nutritious.
**Maethusaw**, *v. a.* (maethus) To render nutritive.
**Maethusrwydd**, *s. m.* (maethus) Nutritiousness.
**Maf**, *s. m.* (ma) That breaks out; that forms into a cluster.
**Mafon**, *s. pl. aggr.* (maf) Raspberries.
**Mafonen**, *s. f. dim.* (mafon) A raspberry.
**Mafonllwyn**, *s. m.* (llwyn) A raspberry bush.
**Mafonwydd**, *s. pl. aggr.* (mafon—gwydd) Raspberry trees.
**Mafonwydden**, *s. f. dim.* (mafonwydd) A raspberry tree; also called *mafon llwyn*.
**Mag**, *s. f.* (ma—ag) The act of rearing, bringing up, or educating; rearing, education; nurture
**Magad**, *s. m.* (mag) A quantity; a multitude.

> Eurwas, cyn lleas, yn llysoedd enwawg,
> Mygedawg magadoedd.
>
> The gay youth, before his death, in the magnificent courts was the idol of *multitudes*. *Cynddelw, m. Pyll.*

**Magaden**, *s. f. dim.* (magad) A nursling.
**Magadwr**, *s. m.—pl.* magadwyr (magad—gwr) One who nurses, rears, or breeds.
**Magadwriaeth**, *s. m.* (magadwr) The act or office of one who nurses, rears, or brings up.
**Magadwy**, *a.* (magad) That may be nourished.
**Magai**, *s. c.* (mag) One that rears, or breeds.
**Magator**, *ger.* (magad) In rearing, or breeding.
**Magawd**, *s. m.* (mag) The act of rearing, bringing up, breeding, or educating.

> Mal myn magawd.
>
> Like a kid *that is reared by hand*. *Adage.*

**Magawl**, *a.* (mag) Tending to rear, or to bring up; breeding; nursing.
**Magdan**, *s. m.* (mag—tan) What generates fire, a combustible; tinder. *a.* Combustible.

> Aeth——
> Yn fagdan olwyn fygdarth.
>
> He went off like a *combustible* globe of smoky vapour. *Ed. Maelor, i'r diawl.*

**Magddu**, *s. f.* (mag—du) The fountain of blackness; or the seat of darkness; hell.

> Yn y fagddu yr ydym yn rhodiaw.
>
> In *darkness* we are walking. *Isaiah 59. 9.*

**Magedig**, *a.* (magad) Being reared, brought up.
**Magfa**, *s. f.—pl.* magfëydd (mag) A nursery.
**Magi**, *s. m.* (mag) A principle of generation.
**Magiad**, *s. m.* (mag) A bringing up, rearing, or nursing; a breeding.
**Magïad**, *s. f.—pl.* magïaid (magi) A worm, or grub; a glow-worm.
**Magïen**, *s. f. dim.* (magi) A worm; a glow-worm.
**Magïod**, *s. pl. aggr.* (magi) Worms, or grubs; glow-worms, maggots.
**Magl**, *s. f.—pl. t.* au (mag) What intricately connects, or constructs; a knot; a knot in knitting; a mesh; what entangles; a gin, or springe; a web on the eye; an issue in surgery; a portion of land.

> Sef yw magl deuddeg erw.
>
> That is to say, a *knot* is twelve acres. *Welsh Laws.*
>
> Mal gwlaw y daw draw, drwy air, y maglau,
> Tan myglyd, a chesair——
> Arnynt.
>
> Like rain yonder there will come, at his word, *snares*, smoking fire, and hail upon them. *W. Middleton.*

**Maglai**, *s. c.—pl.* magleion (magl) A snare.
**Maglawg**, *a.* (magl) Tending to entangle; having knots, or meshes; having snares.
**Maglawl**, *a.* (magl) Tending to entangle.
**Maglawr**, *a.* (magl) Tending to entangle.

> Medd yfynt, melyn, melys, maglawr.
>
> Mead they were drinking, yellow, sweet, and *intoxicating*. *Aneurin.*

**Magledig**, *a.* (magl) Being knitted, or meshed; entangled; ensnared.
**Magledigaeth**, *s. m.* (magledig) The act of knitting or meshing; an entangling.
**Maglen**, *s. f. dim.* (magl) A springe, or gin.
**Magliad**, *s. m.* (magl) A knitting, or meshing; an entangling; an ensnaring.
**Maglu**, *v. a.* (magl) To connect intricately together; to knit, or to mesh; to entangle; to entrap, to ensnare.
**Maglwr**, *s. m.—pl.* maglwyr(magl—gwr) One who knits, or meshes; an ensnarer.
**Maglys**, *s. m.* (mag—llysiau) The medick.
**Magodorth**, *s. m.* (magawd—gorth) Generated stoppage or suppression.

> Tafawd yr hydd, gwresawg yw; a'r diodau a wneler o hwn, drwy frag, a wna drwnc—ac estwng magodorth y perfedd oll.
>
> The hart's tongue is of a heating quality; and the drinks which may be made of this, with malt, will produce urine; and will assuage any *suppression* in the bowels. *Meddygon Myddfai.*

**Magon**, *s. pl. aggr.* (mag) Berries, or baccæ.
**Magu**, *v. a.* (mag) To bring forward, to bring up, to rear; to instruct; to nurse; to breed. *Magu plant*, to bring up children; *magu dannedd*, to breed teeth.

> Neu'r fegaist a'th dirprwy!
>
> *Hast* thou not *reared* him that will supply thy place! *Adage.*
>
> Yn mhob gwlad y megir glew.
>
> In every country *there will be* a hero *bred*. *Adage.*

**Magwr**, *s. m.—pl.* magwyr (mag—gwr) One who brings up, rears, or instructs; one who nurses.
**Magwres**, *s. f.—pl. t.* au (magwr) A female who brings up, rears, or educates.
**Magwriaeth**, *s. m.* (magwr) The act of one who rears or brings up; a rearing, or instructing; nurture, nourishment.

> Bid wyw gwr heb fagwriaeth.
>
> A man must be feeble without *nourishment*. *Adage.*

**Magwriaethawl**, *a.* (magwriaeth) Relating to the act or office of one who brings up.
**Magwriaethiad**, *s. m.* (magwriaeth) A doing the act or duty of an educator.
**Magwriaethu**, *v. a.* (magwriaeth) To do the act of a rearer, bringer up, or educator.
**Magwriaethus**, *a.* (magwriaeth) Conducive to the act or office of rearing; nutrimental.
**Magwy**, *s. m.—pl. t.* on (mag) A cluster, a bunch.

> Gorwyn blaen a fall blodau fagwy.
>
> Splendidly white the top of the appletree's *cluster* of flowers. *Gwalchmai.*

**Magwyad**, *s. m.* (magwy) A forming a cluster.
**Magwyr**, *s. f.—pl. t.* ydd (mag—gwyr) What is raised up; a structure, a wall; a building; a

house, in the dialect of *Gwent;* also an enclosure, an enclosed plot of ground, or field. *Hen fagwyr*, an old building, ruin, or toft of a house: *Y fagwyr wen*, the white water-lily, otherwise called *Alaw*.

Gwelais beleidr gwyr am fagwyr fain;
Gwelais parau rhudd rhag rhuthr Owain.

I saw the shafts of heroes round a *wall* of stones; I saw crimson spears from the assault of Owain. *Cynddelw.*

Magwyrad, *s. m.* (magwyr) The act of raising a structure; a piling up, a building.

Magwyraw, *v. a.* (magwyr) To raise a structure, to pile up, to build; to raise a wall.

Magwyd, hewyd yn hawdd;
Mi gerais a'u magwyrawdd.

They have been formed, they have been spread with ease; I loved the one who *constructed* them. *Ieu. Rudd, i'r paderau.*

Magwyren, *s. f.* (magwyr) The wall or shell of a building. *Hen fagwyren*, an old ruin.

Magwyriad, *s. m.* (magwyr) A raising a structure; a piling up, a building; a raising a wall.

Magyr, *s. m.* (mag) That rears, breeds, or brings to maturity.

Mai, *s. m.—pl.* meion (ma) That stretches out; that is extended; a plain, or open field; also the month of May. *Gware y Fai*, the play of prison bars, of which there are two sorts, the other is called *Y Fai garchar; meirch Mai*, the steeds of the field, or war-horses; *mis Mai*, the field month, or the month of May. This word forms the names of several places, as *Pen y Fai, Cilfai, Mai Silly, Myddfai*, and the like.

Gwelais lyw Cattraeth tra meiau:
Bid fy nar nwy llachar Cymmryau.

I saw the chief of Cattraeth beyond the *plains:* Be my prince the thunderbolt of the Cymbrians. *Taliesin.*

Yn lladd heb un ai lluddiai
Mwyalch morwyn falch ar fai.

Killing without one that should oppose her, the oozle, a proud nymph on the *field*. *D. ab Gwilym, i Esyllt.*

Mai, *conj.* (my—ai) That; that it. *Mae hi yn hòni mai dall wyf*, she is asserting that I am blind; *am mai*, because that. *Taw* is used for it in *Dyfed*.

Maid, *s. m.* (ma—id) That separates, or limits.

Maidd, *s. m.* (my—aidd) Whey; curds and whey.

Maig, *s. m.—pl.* meigion (my—aig) A sudden turn, or course; an event, or hap; a fall.

Fweddl mwyfwy, garw dramwy drumain;
I faig ni bu ddedwyrain.

More and more the rumour, and the resort to the borne; for the *fall*, there was no recovery. *Seis. Bryf-fferch.*

——Draig fu Ruffudd,
Udd aughudd, angerdd faig.

A dragon was Gruffudd, the chief not concealed, of violent *course*. *Ll. P. Moch.*

Mail, *s. f.—pl.* meiliau (my—ail) That is raised up, that rises round, or that is hollow; a hollow vessel of a cup form; a bowl, or bason.

Y dystain, ac y gwallofiaid oll y gyd ag ef, yn y tair gwyl arbenig, a ofwyant y drysawr, o ddodi gwirawd yn ei lestr, o'r cyrn a'r meiliau.

The steward of the household, and all the servitors with him, in the three principal festivals, shall greet the porter, by putting liquor in his vessel, out of the horns and the *bowls*. *Welsh Laws.*

Y fol euraid fail arian,
Mal mor wrth y meiliau mân.

The golden bellied silver *bowl*, like a sea by the side of the tiny *bowls*. *W. Wynne.*

Main, *a.* (my—ain) Slender, fine, thin, or small, with respect to roundness. *Edaf fain*, fine thread; *llian main*, fine linen; *pren main*, a slender piece of timber; *dyn main*, a slim man; *diawd fain*, small beer; *dwfr yn rhedeg yn fain*, water running in a small current; *ymguddiaw yn fain*, to hide one's self closely.

Gnawd buan o fain.

That is *slender* is commonly quick. *Adage.*

Mainc, *s. f.—pl.* meinciau (my—ainc) A bench.

Mainsuren, *s. f.* (main—sur) Common sorrel.

Maint, *s. m.* (main) Magnitude, size, bigness, greatness; quantity; *Dau o'r un faint*, two of the same size; *pa faint sydd yna?* how much is there? *y maint lleiaf*, the least quantity; *pa faint a dal hyna?* how much is that worth?

Ni wyl ynfydrwydd ei faint.

Folly doth not perceive her own *magnitude*. *Adage.*

Na ddos â gwr wrth ei faint.

Take not a man by his *size*. *Adage.*

Maip, *s. pl. aggr.* (ma—ib) Turnips; otherwise called *Erfin*. *Maip bendiged*, briony root.

Mais, *s. f.—pl.* meisiau (my—ais) That does away want; a device, invention, or contrivance.

Mais llanw i'm os y lluniwyd;
A mais llawn mab Tomas Llwyd.

A *device*, which will fill to me if it be formed; and the full *device* of the son of Thomas Llwyd. *H. ab D. ab I. ab Rhys.*

Maist, *s. m.* (mais) That is designed or invented.

Maith, *a.* (my—aith) Ample, large; long, tedious. *Maith ym rhoddai*, amply he would give me; *ffordd faith*, a tedious road.

Maiw, *a.* (mai) Abounding with hillocks.

Màl, *s. m.* (my—al) That is a separate particle. *a.* Trivial, trifling, small, light, or of no weight; light, vain, fond, or doating; having a semblance; like.

Màl, *conj.* (my—al) Like, similar to; as; so. *adv.* Like, so; as if; in the manner of. *Màl pe bai*, as if it were; *màl hyn*, in this manner.

Nid fàl aur da ydd â y dyn.

Not *like* the precious gold does man go onward. *Adage.*

Da gŵyr, màl pawb.

He knows well, *like* every body. *Adage.*

Gair gwraig màl gwynt y cychwyn.

A woman's word sets off *like* the wind. *Adage.*

Byglynu fàl gwenyn.

Becoming knotted together *like* bees. *Adage.*

Màl gwaith Emrys.

*Like* the work of Emrys (Stonehenge). *Adage.*

Mal, *s. m.* (ma—al) That extends, that throws out, or produces; that is thrown out, extended, or produced; a contribution, what is reduced into small particles, or ground, a grinding.

Un yn darwedd
Gwin, a mal, a medd.

One that is generous of wine, and *bounty*, and mead. *Taliesin.*

Ef a roddes ei drefad Clynog i Dduw a Beuno yn dragywydd, heb na mal nac ardreth.

He gave his domain of Clynog to God and to Beuno for ever, without either *contribution* or tax. *Buch. Beuno.*

Nid oes na mal na threth a ddylom ei thalu.

There is neither *contribution* nor tax which we ought to pay. *H. Car. Mag.—Mabinogion.*

Mal, *a.* (ma—al) Tending to extend, throw out, or produce; extended, produced; capable of extension, smooth, glib.

Y blaenaf o bobl Wynedd,
A dal im' aur mal a medd.

The foremost of the men of Gwynedd, who bestows on me *ductile* gold and mead. *D. Nanmor.*

Malâad, *s. m.* (mal) A making or becoming like.

Malaen, *s. m.* (mal) An epithet for a snail.

Malaen a ddyly ei daith.

The *snail* deserves the end of its journey. *Adage.*

**Malaith**, *s. m.—pl.* maleithion (ma—llaith) Chilblains: also called *llosg eira*.

**Malân**, *v. n.* (mal) To make similar, to liken.

**Malawg**, *a.* (mal) Full of trifling or vanity. *s. c.* One who trifles, or that is wanton.

Dangaws dy fys i falawg
Yntau a'i heirch yn gwbl.

Shew thy finger to a *trifler* and he will ask it altogether. *Adage.*

**Maldawd**, *s. m.* (màl) A trifling, or levity; dalliance, fondness, dotage.

**Maldodi**, *v. a.* (maldawd) To dally, to fondle.

**Maldodus**, *a.* (maldawd) Apt to dally, to fondle.

**Maldodwr**, *s. m.—pl.* maldodwyr (maldawd—gwr) A dallyer, a fondler, a dotard.

**Maledig**, *a.* (mal) Bruised, broken, ground, or pulverized. *Yd maledig*, ground corn.

**Maledd**, *s. m.* (màl) An over-fondness, dotage.

O rhyfedd yw'r ffoledd a'r maledd mewn merch!
Er hacred y mab, lle bo'n gadarn ei serch,
A'i fod yn ffin elyn i'w thad ac i'w mam,
Hi a'i dilyn hyd angau, bid cymhwys, bid cam.

How wonderful the folly and *dotage* of a woman! Be the man ever so ugly, where her love is ardent, and though he should be an inveterate foe to her father and her mother, she will follow him till death, be it right, be it wrong. *Pennill.*

**Maledd**, *s. m.* (mal) A state of extension.

**Maleithr**, *s. m.* (malaith) A blain; a kibe.

**Maleithrawg**, *a.* (maleithr) Having blains.

**Malen**, *s. f.* (mal) One that is of metal, or iron; one who uses or carries iron, one that is used to war, or violence; Bellona, Andrasta; also an epithet for a shield. *Gormes march malen*, the intrusion of the iron horse, an epithet for a tribe of depredators in ancient Britain.

A gasgler ar farch malen dàn ei dòr ydd â.

What is got upon the horse of Bellona, will go under his belly: or—
What is got on the devil's back is spent under his belly. *Adage.*

Afal mael ar fòl malen,
Ac yna pig yn y pen.

A golden apple on the convex of the *shield*, and then a spike on the top. *T. Aled, i fwcled.*

**Malerth**, *s. m.* (ma—llerth) Chilblains, or kibes.

**Maliad**, *s. m.—pl. t.* au (mal) A breaking into small pieces; a bruising, a grinding.

**Maliaw**, *v. a.* (màl) To think of, to care. *Nid yw yn maliaw dim amdanat*, he cares nothing about thee.

**Malpai**, *adv.* (màl—pai) As if it were to be, as if it were; in such a way.

**Malsai**, *s. f.—pl.* malseiod (màl) An eel.

**Màlu**, *v. a.* (màl) To imagine, to guess, to devise.

**Malu**, *v. a.* (mal) To reduce small, to grind.

Mal baedd yn malu ewyn.

Like a boar *grinding* foam. *Adage.*

Y felin a fal a fyn ddwfr.

The mill that *grinds* must have water. *Adage.*

Cyntaf i'r felin biau malu.

The first to the mill has a right to *grind*. *Adage.*

**Malur**, *s. m.* (mal) What is reduced fine, earth thrown up by a mole, or a mole-hill.

**Maluria**, *s. m.* (malur) That is small, or fine; that is mouldered.

Pan fo mellerydd ar ben maluria,
Y bydd esgud asgell gwipia.

When a lark is on the top of a *molehill*, the wing of the hawk is alert. *Adage.*

**Maluriad**, *s. m.—pl. t.* au (malur) A reducing to small particles; a reducing to powder; a mouldering.

**Maluriaw**, *v. a.* (malur) To reduce to small particles, to bruise, to break, or to pound, to become broken, or bruised small, to moulder.

**Maluriawl**, *a.* (malur) Tending to break into small pieces; mouldering.

**Maluriedig**, *a.* (maluriad) Broken, or bruised small; being mouldered.

**Malurion**, *s. pl. aggr.* (malur) Broken particles. *Malurion yd*, broken, or bruised corn.

**Malw**, *a.* (mal) That is entire, that has no parts or joints; a snail.

**Malwen**, *s. f.* (malw) A snail. *Malwen ddu*, a black snail; *Malwen wen*, a white snail; *llwys malwen*, the track of a snail.

**Malwod**, *s. pl. aggr.* (malw) Snails. *Cregyn malwod*, snail shells.

**Malwoden**, *s. f. dim.* (malwod) One of the snails.

**Malwr**, *s. m.—pl.* malwyr (mal—gwr) One who bruises small, or grinds, a pulverizer.

**Mall**, *s. f.* (my—all) A want of energy, want of compactness; a breaking out, a running out of form; softness, debility, any thing soddened: a malady: an evil. *Y fall*, the evil principle; *plant y fall*, the devil's imps. *Y fall felen*, the yellow plague, which raged over a great part of the world in the sixth and seventh centuries, as described by Procopius, book the fourth.

Gryched yw fy ngrudd——
Pa ryw fall a'i pair felly!

How wrinkled is my cheek! what is the *evil* that causes it to be so! *B. Brwynllys.*

**Mall**, *a.* (my—all) Void of energy, or compactness: tending to break out, or to run out of form: soft, melting: soddened: insipid: sottish; absurd; blasted; evil. *Llygad mall*, a wanton eye.

O galon dynion y deillia meddyliau mall.

Out of the hearts of men proceed *evil* thoughts. *W. Salisbury, Mark 7.*

**Mallaidd**, *a.* (mall) Somewhat soft, lax, or loose; rather insipid; apt to be wanton.

**Mallain**, *a.* (mall) Abounding with softness.

**Mallaint**, *s. m.* (mallain) Malaxation, moisture.

**Mallawd**, *s. m.* (mall) A malaxation, a soddening.

**Malldan**, *s. m.—pl. t.* au (mall—tan) A soft or slow fire; an ignis fatuus.

Malldan dan uwd a mellten dan lymry.

A *slow fire* under porridge and lightning under flummery. *Adage.*

**Malldawd**, *s. m.* (mall) Softness, laxity of manners, wantonness; a soddened state, a blast.

**Mallder**, *s. m.* (mall) Softness, laxity, looseness of manners, wantonness; a soddened state; insipidity; a blast; sottishness.

**Malldorch**, *s. f.—pl.* melldyrch (mall—torch) Kibe

**Malldra**, *s. m.* (mall) Softness, laxity, looseness of behaviour; wantonness; a soddened state; a blasted state; insipidity.

**Malldraul**, *s. m.* (mall—traul) A bad digestion.

**Malldreuliad**, *s. m.* (malldraul) A badly digesting.

**Malldreuliaw**, *v. a.* (malldraul) To digest badly.

**Malledig**, *a.* (mall) Malaxated; softened; faded.

**Malledigaeth**, *s. m.* (malledig) Malaxation.

**Malledigaw**, *v. a.* (malledig) To malaxate.

**Malledd**, *s. m.* (mall) Softness; levity, wantonness, want of sharpness; insipidity; a blasted state.

**Mallgaru**, *v.* (mall—caru) To love wantonly.

**Mallgno**, *s. m.* (mall—cno) A gnawing pain.

**Mallgnöad**, *s. m.* (mallgno) A painfully gnawing.

**Mallgnoï**, *v. a.* (mallgno) To gnaw painfully.

**Mallgorn**, *s. m.—pl.* mallgyrn (mall—corn) The inside part of a horn.

**Mallgorni**, *v. n.* (mallgorn) To become an imperfect horn.

**Mallgyrch**, *a.* (mall--cyrch) A resort of evil beings. *Y fallgyrch eirias*, the devil-resorting fire.

Malliad, *s. m.* (mall) A divesting of energy; a softening; a becoming loose, or wanton.
Malliannawl, *a.* (malliant) Tending to softness.
Maliannu, *v. a.* (malliant) To tend to softness; to be divested of energy.
Malliannus, *a.* (malliant) Of softening tendency.
Malliant, *s. m.* (mall) A soft or lax quality, a degenerate state.
Mallineb, *s. m.* (mall) A soft or lax state.
Mallon, *s. m.* (mall) An evil principle.
Malloni, *v. n.* (mallon) To become evil.
Mallred, *s. f.* (mall—rhed) An evil course.
Mallrwydd, *s. m.* (mall) Softness; levity, wantonness; want of energy, insipidity.
Mallt, *s. m.* (mall) An evil principle; a fiend.
Mallt, *a.* (mall) Void of energy; evil. *Myn y mwci mallt!* By the evil sooty one! *Paid a galw ar y mwci mallt fal hyn,* do not call on the evil spirit in this manner. *Sil.* This *mwci mallt* is a term made use of to mince matters, instead of calling on the devil plainly.
Mallu, *v. a.* (mall) To divest of energy; to make soft, or flaccid; to sodden; to make insipid; to blast; to make evil; to become soft, or tender; to become sodden; to become insipid; to be blasted; to become evil.

Mae anadl y diogi yn mallu pob peth y cwympo arno.

The breath of idleness *blasts* every thing it falls on. *Adage.*

Mae'n glaerwyn mwnwgl eryr;
Mae lliw gwen yn mallu gwyr.

Of a splendid white is the neck of the eagle; the complexion of the fair one *blasts* the men. *S. Ceri.*

Mallus, *a.* (mall) Of a soft or lax quality, of a wanton disposition.
Mallusaw, *v. a.* (mallus) To render of a lax quality; to become blasted.
Mallusrwydd, *s.* (mallus) Flaccidity, blastedness.
Mallwaew, *s. m.* (mall—gwaew) A dull pain.
Mallweywyr, *s. m.* (mallwaew) A dull pain.
Mam, *s. f.—pl. t.* au (ma—am) That contains, or bears; a mother, a dam. *Mam gu,* or *nain,* a grandmother; *mam wèn,* a stepmother; *mam y drwg,* the mother of mischief:—*Y fam eni,* the falling of the uterus; *gwaith y fam, y fam,* the mother fits; *y fam,* the matrix.

Nid gweddi ond mam.

She is no wife but who is a *mother.* *Adage.*

Ceisied asgre ei fam a gollo.

Let him seek his *mother's* bosom that loses. *Adage.*

Gwell mam godawg no thad rhieddawg.

A rich *mother* is better than a father of noble descent. *Adage.*

Mamaeth, *s. f.* (mam) Motherhood, maternity.
Mamai, *s. f.* (mam) The birth wort.
Mamaidd, *a.* (mam) Like a mother, motherly.
Mamawg, *a.* (mam) Having a mother's quality. *Y famawg ddrewllyd,* stinking goose-foot.
Mamawl, *a.* (mam) Maternal, or motherly.
Mamdref, *s. f.—pl. t.* i (mam—tref) A chief town
Mamddinas, *s. f.—pl. t.* au (mam—dinas) A metropolis, or chief city.
Mamddinasawl, *a.* (mamddinas) Metropolitical.
Mamedd, *s. f.* (mam) Motherhood, maternity.
Mameglwys, *s. f.—pl. t.* i (mam—eglwys) A mother church; a cathedral.
Mameglwysawl, *a.* (mameglwys) Belonging to a mother church.
Mameiddiad, *s. m.* (mamaidd) A becoming motherly, a rendering motherly.
Mameiddiaw, *v. n.* (mamaidd) To become motherly, to render motherly.
Mameiddrwydd, *s. m.* (mamaidd) Motherliness.

**Mamen,** *s. f. dim.* (mam) A little mother.
**Mames,** *s. f.—pl. t.* od (mam) A mother or dam with her first young.
**Mamiad,** *s. f.—pl. t.* au (mam) A becoming a mother.
**Mamladd,** *s. m.* (mam—lladd) Matricide.
**Mamladdiad,** *s. m.* (mamladd) A matricideal act.
**Mamleiddiad,** *s. m.—pl.* mamleiddiaid (mamladd) A matricide, or one who kills a mother.
**Mamleiddiadawl,** *a.* (mamleiddiad) Matricideal.
**Mamlys,** *s. m.* (mam—llys) The motherwort.
**Mammaeth,** *s. f.—pl. t.* od (mam—maeth) A fostering or nursing mother; a nurse.

Rhuthr mammaeth.

The attack of a *nursing mother.* *Adage.*

Afleithus pob mammaeth.

Every *nurse* is affectionate. *Adage.*

O achaws y fammaeth y cusenir y mab.

For the sake of the *nurse* the child is kissed. *Adage.*

**Mammenthaidd,** *a.* (mammaeth) Of a fostering tendency; motherly.
**Mammeuthiad,** *s. m.* (mammaeth) The acting as a nurse, a nursing.
**Mammeuthu,** *v. a.* (mammaeth) To nurse.

Maethus yw mammeuthu serch.

It is tender *to cherish* love. *D. Aerdrem.*

**Mammeuthus,** *a.* (mammaeth) Of a motherly disposition.
**Mamog,** *s. f.—pl. t.* au (mam) That is with young, that is a mother or dam; an ewe with young; the womb or matrix; the hysterical passion, otherwise called *y fam,* and *clwyf y fam;* also the collapsion of the womb.
**Mamogaeth,** *s. f.—pl. t.* au (mamawg) Maternity.
**Mamogaethu,** *v. a.* (mamogaeth) To claim maternal affinity.
**Mamogi,** *v. a.* (mamawg) To render as a mother, to become as a mother.
**Mamogiad,** *s. f.—pl.* mamogiaid (mamog) That is with young; an ewe with young, also called *dafad gyfebr.*
**Mamolrwydd,** *s. m.* (mamawl) Motherliness.
**Mamu,** *v. a.* (mam) To become a mother.
**Mamwch,** *s. m.* (mam) A mother's fondness.
**Mamwraig,** *s. f.—pl.* mamwreigedd (mam--gwraig) A woman that is a mother.
**Mamwydd,** *s. f.—pl. t.* au (mam—gwydd) A mother goose, or a brood goose.
**Mamwys,** *s. f.* (mam—gwys) Maternity; a matrix; a relationship by the mother's side.

Holi tir o famwys:—Nid oes un wraig yntau a ymroddo ei hun i alltud a ddylyo ei meibion famwys.

Claiming of land by *maternal affinity:*—There is no woman then who shall give herself to a foreigner, whose children have a right of *maternal affinity.* *Welsh Laws.*

**Mamwysawl,** *a.* (mamwys) Relating to maternity, or of kin by the mother.
**Mamwythen,** *s. f.—pl. t.* au (mam—gwythen) The crural vein, or saphœna.
**Mamwythi,** *s. pl. aggr.* (mam—gwythi) The main or leading channels; the main arteries.
**Mamychiad,** *s.* (mamwch) A fondling as a mother.
**Mamychu,** *v. a.* (mamwch) To fondle as a mother.
**Màn,** *s. f.—pl. t.* au (my—an) A space, a place, a spot, or mark; a where; a state; what holds, or contains; a band. *Y fàn a'r fàn,* such and such a place; *y fàn dywyllaf,* the darkest period, or when the twilight is past; *yn y màn,* presently, or by and by: *màn geni,* or *màn cynenid,* a mark from the birth, as a mole and the like: *màn y dòn,* sea plantain.

**Man**, *a.* (ma—an) Small, little, petty, fine. *Ceryg man*, small stones; *yd man*, small corn; *tywod man*, fine sand; *edafedd man*, fine yarn.

Nid wyf henaidd, nag eiddil,
Na gwr man, fal y gwyr mil.

I am not elderly, nor slender, nor a *small* person, as it is known to a thousand. *D. ab Gwilym.*

**Manâad**, *s. m.* (man) A making small, or fine; a becoming small, or fine.

**Mânad**, *s. f.* (mân) A mass, or lump.

Manad o ymenyn cyfled a'r ddysgl letaf yn y dref:—Sef yw manad ymenyn naw dyrnfedd led, a dyrnfedd dewedd a'r fawd yn ei sefyll.

A *mass* of butter as broad as the widest dish in the township:—A *mass* of butter is so much, nine hands in breadth, and a hand in thickness, having the thumb erect. *Welsh Laws.*

**Manaid**, *s. f.*—*pl.* maneidiau (man) The contents of a mould, a print, as of butter and the like. *Manaid o ymenyn*, a print of butter; otherwise called *seigen*, and *rhisgen*.

**Manarfau**, *s. pl. aggr.* (man—arfau) Small arms.

**Manau**, *v. a.* (man) To render small, little, or fine; to become small, or fine.

**Manaw**, *s. f.* (man) That extends out; that forms a space, spot, or mark; the Welsh name of the Isle of Man.

**Manawd**, *s. m.* (man) The act of placing, a making a space, a location, a spotting.

**Manawg**, *a.* (man) Having a place, or space; having a spot, or mark: spotted, marked. There are a variety of tales about the *ychain banawg*, or large horned oxen, all over Wales, which probably were the moose deer; and they were also called *ychain manawg*, *ychain manodd*, and *ychain manwedd*, or the spotted oxen.

**Manawl**, *a.* (man) Local; relating to spots, tending to produce a spot, or mark.

**Manawl**, *a.* (man) Fine, nice, delicate; accurate. *Y ddyn fanawl*, the delicate fair one.

Cynnyg aur——
A main, a thlysau manawl.

Offering gold, and stones, and *curious* jewels. *Syp. Cyfeiliawg.*

**Manawyd**, *s. m.*—*pl. t.* ydd (manaw) The staff of a banner, or standard.

Rhag byddin Ododin——
Hyder gymhell ar frelthell fanawyd.

Before the host of Gododin there was a confident impelling forward of the *shaft* of the variegated *standard*. *Aneurin.*

**Manbaill**, *s. m.* (man—paill) Fine flour. *a.* Of fine flour. *Bara gwyn manbaill*, white bread of fine flour.

**Manbethau**, *s. pl. aggr.* (man—pethau) Small things; trifling things, small matters.

**Manblu**, *s. pl. aggr.* (man—plu) Down-feathers.

**Manbluaidd**, *a.* (manblu) Like down-feathers.

**Manbluawg**, *a.* (manblu) Having down-feathers.

**Manbysg**, *s. pl. aggr.* (man—pysg) Small fish.

**Manbysgod**, *s. pl. aggr.* (manbysg) Small fishes.

**Mando**, *s. m.* (man—tô) A fine slated, or fine tiled roof.

**Mandöedd**, *s. m.* (mando) A covering of fine texture. *Clyd fandöedd*, a warm fine-worked roof.

**Mandöi**, *v. a.* (mando) To roof with fine work.

**Mandon**, *s. f.* (man—tôn) The dandruff; also the woodroof; otherwise called *llysiau yr eryr*.

**Mandonawg**, *a.* (mandon) Having a dandruff.

**Mandwyn**, *s. m.* (màn—twyn) The scrophula.

**Mandwynawg**, *a.* (mandwyn) Strumous.

**Mandwynawl**, *a.* (mandwyn) Strumatic.

**Manddail**, *s. pl. aggr.* (man—dail) Small leaves.

**Manddarlun**, *s. m.*—*pl. t.* ion (man—darlun) A miniature delineation.

**Manddarluniad**, *s. m.* (manddarlun) A delineating in miniature.

**Manddarluniaw**, *v. a.* (manddarlun) To draw in miniature.

**Manddarnau**, *s. pl.* (man—darnau) Small pieces.

**Manddarnu**, *v. a.* (man—darnu) To break into small pieces.

**Manddeiliaw**, *v.* (manddail) To shoot first leaves.

**Manddeiliawg**, *a.* (manddail) Having first leaves.

**Manddel**, *s. m.* (man—del) A quick whisk or scud.

**Manddelu**, *v. a.* (manddel) To whisk about.

**Manddellt**, *s. pl. aggr.* (man—dellt) Fine split-wood or rods, such as are used in basket work.

**Manddos**, *s. pl. aggr.* (man—dos) Small drops.

**Manddosawg**, *a.* (manddos) Having small drops.

**Manddosi**, *v.* (manddos) To fall in small drops.

**Manddrain**, *s. pl. aggr.* (man—drain) Small thorns.

**Manddreiniach**, *s. pl.* (manddrain) Small thorns.

**Manddreiniawg**, *a.* (manddrain) Having small thorns, having little prickles.

**Manddrylliau**, *s. pl. aggr.* (man—drylliau) Small fragments, small pieces.

**Manddrylliaw**, *v. a.* (man—drylliaw) To break into small fragments or pieces.

**Manddrylliawg**, *a.* (man—drylliawg) Having small fragments or pieces.

**Manddyluniad**, *s. m.* (man—dyluniad) A drawing in miniature.

**Manddyluniaw**, *v. a.* (man—dyluniaw) To draw in miniature.

**Maned**, *s. f.*—*pl. t.* i (man) Hand basket, maund.

**Manedig**, *a.* (man) Spotted, marked, flecked.

**Maneg**, *s. f.*—*pl.* menyg (man) A glove.

**Maneiliad**, *s. m.* (man—eiliad) A platting or constructing a fine work.

**Maneiliaw**, *v. a.* (man—eiliaw) To plat or build up a nice piece of work.

**Maneiliawg**, *a.* (man—eiliawg) Of nice structure.

**Maneiriau**, *s. pl. aggr.* (man—geiriau) Little words.

**Manfrith**, *a.* (man—brith) Of a small, nice, or fine variegation, finely striped.

Eppiliant fanfrithion.

They shall bring forth *finely striped ones*. *Genesis* 31. 8.

**Manfrithad**, *s. m.* (manfrith) A finely variegating.

**Manfrithaw**, *v.* (manfrith) To variegate finely.

**Manfrithawg**, *a.* (manfrith) Finely variegated.

**Manfrithedd**, *s. m.* (manfrith) The state of being finely variegated; small check pattern.

**Manfriw**, *a.* (man—briw) Finely crumbled.

**Manfriwaw**, *v. a.* (manfriw) To crumble small.

**Manfriwiad**, *s. m.* (manfriw) A braying small, a crumbling small.

**Mangaled**, *a.* (man—caled) Of a hard grasp.

Meirl mangaled am beu ceiniawg.

Husbandmen that are *close-fisted* after the penny. *Myrddin.*

**Mangan**, *s. m.* (man—can) Fine flour.

**Mangannu**, *v. a.* (mangant) To bolt fine flour.

**Mangant**, *s. m.* (mangan) Fine bolted flour.

A meingorff o liw mangant.

A slender form of the hue of *fine flour*. *D. Llwyd.*

**Mangaw**, *s. m.* (mân—caw) A fine whipping round, or binding; nice work.

**Mangawiad**, *s. m.* (mangaw) A whipping or binding with fine work.

**Mangawiau**, *s. pl. aggr.* (mangaw) Small shreds; trifles, or toys.

**Mangawiaw**, *v. a.* (mangaw) To whip round, or bind, with fine work.

**Mangeinion**, *s. pl. aggr.* (man—ceinion) Delicate or fine jewels.

**Mangerdded**, *v. a.* (man—cerdded) To walk with short steps; to walk delicately.
**Mangibau**, *s. pl. aggr.* (man—cibau) Fine cups.
**Mangoed**, *s. pl. aggr.* (man—coed) Brushwood.
**Mangor**, *s. m.* (man—cor) A fine membrane.
**Mangre**, *s. f.* (man—cre) An intricate place.

Addwyn march myngfras mangre.

Beautiful is the horse with a thick mane in a *tangle*.
*Taliesin.*

Y teir-bro dano a dyf;
Tair mangre y tarw mein-gryf.

The three countries under him increase; the three *strong holds* of the bull slender and vigorous. *Gutto y Glyn.*

**Mangylchau**, *s. pl.* (man—cylch) Small hoops.
**Mangylchawg**, *a.* (man—cylchawg) Having small or fine hoops.
**Mangylchu**, *v. a.* (man—cylchu) To bind with fine or small hoops.
**Manhedion**, *s. pl. aggr.* (man—hedion) Small flying motes, or flue.
**Maniad**, *s. m.* (man) A placing; a spotting.
**Maniadawl**, *a.* (maniad) Positional; local.
**Manion**, *s. pl. aggr.* (man) The smaller particles of any thing; small or empty grains of corn.
**Manladron**, *s. pl.* (man—lladron) Petty thieves.
**Manlo**, *s. m. aggr.* (man—glo) Small coal.
**Manllwdn**, *s. m.—pl.* manllydnod (man—llwdn) A small animal, a small beast.
**Manllwyn**, *s. m.* (man—llwyn) Mutton. *Cig manllwyn*, mutton flesh, *gwer manllwyn*, mutton suet.
**Mannodd**, *s. f.* (mant) An aching of the jaw.
**Mannwst**, *s. f.* (mant—gwst) A soreness of the jaw; the tooth ache.
**Mannwyfau**, *s. pl. aggr.* (man—nwyfau) Small wares.
**Manod**, *s. m. aggr.* (man—od) Small or fine snow. *Lliw manod*, the hue of the driven snow, an epithet for a fair woman.
**Manodi**, *v. n.* (manod) To snow small snow.
**Manogedig**, *a.* (manawg) Bespeckled, bespotted.
**Manogen**, *s. f. dim.* (manawg) A speckled one.
**Manogi**, *v. a.* (manawg) To bespeckle.
**Manogiad**, *s. m.* (manawg) A bespeckling.
**Manol**, *a.* (man) Delicate, nice; accurate.

Manol pob rhan, hardd y cyfan.

Every part *accurate*, makes the whole handsome. *Adage.*

**Manoli**, *v. a.* (manol) To make nice or accurate.

Gwna reol a'i manoli,
A gwardd y tair, gwrdd wyd ti.

Make a rule, *rendering it accurate*, and forbid the three, for thou art powerful. *T. Llwyd.*

**Manoliad**, *s. m.* (manol) A rendering delicate, nice, or curious; a making accurate.
**Manolosg**, *s. m. aggr.* (man—golosg) Small coal.
**Manon**, *s. f.* (man) A paragon of beauty.

Myned er gweled gwened gwaneg
Manon wawr Arfon, gofion gofeg.

Going for the sake of beholding how fair the course of a *goddess* the luminary of Arfon, recalling thoughts of love.
*Casnodyn.*

**Manred**, *a.* (man—rhed) Of small step or pace.

Manred gymmed, a feddyliais
Myned i Fenai cyn ni'm bai fais?
Caraf a'm heneirch o dir Cemais,
Gwerling Dogfeiling, cadelling trais.

*Short-paced* traveller, did I think of going to Menai ere it was shallow for me? I love such as greet me of the land of Cemais, the chieftain of the race of Dogfael, the antagonist of oppression.
*Meigant, m. Cynddylan.*

**Manrinion**, *s. pl.* (man—rhin) Trifling charms.
**Manro**, *s. m. aggr.* (man—gro) Small pebbles.

Mor wael myned hael hwyl gyffro galar
Yn rhwym gwely manro!

How miserable that the generous one who causes the agitation of woe, should be gone into the bands of the bed of *gravel*!
*Bleddyn Fardd.*

**Manson**, *s. m.* (man—son) A small talk; a low murmuring, muttering, or grumbling.
**Manson**, *v. a.* (man—son) To mutter, to grumble.
**Mansoniwr**, *s. m.—pl.* mansonwyr (manson—gwr) A mutterer, a grumbler.
**Manswyddau**, *s. pl.* (man—swydd) Petty offices.
**Mant**, *s. m.—pl. t.* au (man) That closes together, or shuts close; the jaw; the jawbone, or mandible; the mouth.
**Mantach**, *s. m.* (mant) An exposed jaw, produced by old age; a toothless jaw.
**Mantachaidd**, *a.* (mantach) Tending to close the jaws, as is done from the loss of teeth.
**Mantachawg**, *a.* (mantach) Of a toothless jaw.
**Mantachedd**, *s. m.* (mantach) The hollowness of the jaws; toothlessness.
**Mantachiad**, *s. m.* (mantach) A closing the mouth, as if done by a toothless person.
**Mantachlyd**, *a.* (mantach) Apt to close the jaws, as a toothless person does.
**Mantachu**, *v. a.* (mantach) To shew the jaws; to mumble; to become toothless.
**Mantachwr**, *s. m.—pl.* mantachwyr (mantach—gwr) One who has a toothless jaw; a mumbler.
**Mantai**, *s. c.—pl.* manteion (mant) A mumbler.
**Mantaidd**, *a.* (mant) Like the closing of the jaw.
**Mantais**, *s. f.—pl.* manteision (man—tais) An advantage.
**Mantawl**, *s. f.—pl.* mantolion (mantawl) An even weight, poise, or balance; the beam of a balance; a balance. *Arwydd y fantawl*, the sign of the balance.
**Manteisiad**, *s. m.* (mantais) A taking advantage.
**Manteisiaw**, *v. a.* (mantais) To take advantage.
**Manteisiawg**, *a.* (mantais) Having advantage.
**Manteisiawl**, *a.* (mantais) Advantageous.

Para anoddau manteisiawl; para foddion, a chynneddfau a sydd gan gyrff cristianogion da, yn yr adgyfodiad!

What *advantageous* qualities; what modes and principles do the bodies of good christians possess, at the resurrection!
*T. Williams, T. a Kempis.*

**Manteisiwr**, *s. m.—pl.* manteiswyr (mantais—gŵr) One who seeks advantage.
**Mantell**, *s. f.—pl.* mentyll (mant) A mantle, or cloak. *Mantell werddonig*, *mantell gedenawg*, an Irish mantle, a shaggy cloak.

Goreu un tuddед mantell.

The best covering of any is a *mantle*. *Adage.*

Y penhebogydd a ddyly y fantell y marchoco y brenin yndді, yn y tair gwyl arbenig.

The chief falconer claims the *mantle*, in which the king rides, on the three principal festivals. *Welsh Laws.*

**Mantellawg**, *a.* (mantell) Having a mantle.
**Mantelliad**, *s. m.* (mantell) A mantling over.
**Mantellu**, *v. a.* (mantell) To mantle, to cloak.
**Mantellwr**, *s. m.—pl.* mantellwyr (mantell—gwr) One who mantles, or cloaks.
**Mantoledig**, *a.* (mantawl) Being balanced.
**Mantoli**, *v. a.* (mantawl) To balance.
**Mantoliad**, *s. m.* (mantawl) A balancing.
**Mantolwr**, *s. m.* (mantawl—gwr) A balancer.
**Manu**, *v. a.* (man) To make a space, or place; to make a spot, or mark, to dot, or to point, to make an impression, to impress, to imprint a mark; to be of effect. *Bendith Duw a fano it!* may the blessing of God be of effect to thee!

Bychan fudd ei fedydd a fain.

Small the benefit, which his baptism *will impress*.
*Seis. Bryf-fwrch.*

Yn all gerdd 'ym rhwyf yn rhwydd yd fain.

In the next song to my chief easily it *will make an impression*.
*Cynddelw.*

——Gwaedled y llafn,
A gwaedliw ar giwed;
A gwaedlen am fen a faned,
A gwaedlan a gran yn greuled.

Reeking the blade, and a hue of blood on the throng; and a bloody veil over the spot *that was marked*, and a plain of blood and the gory brow.
*H. ab Owain.*

**Manu**, *v. a.* (man) To make small; to pound; to become small, to crumble.
**Manus**, *s. m. aggr.* (man—us) The thin or out coat of corn; chaff.
**Manw**, *a.* (man) Of a fine or subtile quality.
**Manwaidd**, *a.* (manw) Of a subtile quality.
**Manwedd**, *s. m.* (man—gwedd) A subtile texture
**Manweddaidd**, *a.* (manwedd) Of a fine texture.

Y cythraul——o notur angel, ef a wybydd lawer; ni wybydd ef hagen bob peth; ac megys i mae manweddeiddiach notur angel noc un dyn, felly i mae cyfarwyddach noc ef.

The devil, having the nature of an angel, knows a great deal; he doth not, however, know every thing; and as the angelic nature is *more subtile* than that of man, so is he more informed than man.
*Elucidarius.*

**Manweddiad**, *s. m.* (manwedd) A rendering or becoming of a subtile texture.
**Manweddu**, *v. a.* (manwedd) To render of subtile texture; to become of subtile texture.
**Manwerthiad**, *s. m.* (gwerthiad) A retailing.
**Manwerthu**, *v. a.* (man—gwerthu) To retail.
**Manwerthwr**, *s. m.—pl.* manwerthwyr (man—gwerthwr) A retailer.
**Manwg**, *s. m.* (man) Spottedness; freckles.
**Manwgl**, *s. m.* (manwg) That is in small spots.
**Manwl**, *a.* (man) Accurate, exact, curious, exquisite, nice; careful, diligent.

Siwan ni bydd ry fanwl.

Siwan will not be over *nice*.
*L. G. Cothi.*

**Manwlaw**, *s. m.* (man—gwlaw) Small rain.
**Manwlawiaw**, *v. n.* (manwlaw) To rain small.
**Manwr**, *s. m.—pl.* manwyr (man—gwr) One who makes a mark, or impression.
**Manwy**, *a.* (man) Fine, rare, or subtile.
**Manwyaidd**, *a.* (manwy) Of a subtile texture.
**Manwyaw**, *v. a.* (manwy) To refine, to subtilize.
**Manwydd**, *s. pl. aggr.* (man—gwydd) Brushwood
**Manwyddawg**, *a.* (manwydd) Abounding with brushwood, or shrubs.
**Manwydden**, *s. f. dim.* (manwydd) A shrub.
**Manwyedd**, *s. m.* (manwy) Exility, fineness.
**Manwyn**, *s. m.—pl. t.* au (man—gwyn) A glandulous swelling, the king's-evil.
**Manwŷnau**, *s. pl. aggr.* (manwyn) The strumæ.
**Manwŷnawg**, *a.* (manwyn) Strumous.
**Manwŷnion**, *s. pl. aggr.* (manwyn) Strumæ.
**Manwythau**, *s. pl.* (man—gwyth) Capillary veins
**Manwythenau**, *s. pl.* (man—gwythen) Small veins
**Manwythi**, *s. pl.* (man—gwyth) Capillary veins.
**Manyd**, *s. m. aggr.* (man—yd) The smaller grain amongst corn, small corn.
**Manyglawg**, *a.* (manwgl) Abounding with small parts, or spots. *s. f.* The woody nightshade.
**Manyglion**, *s. pl. aggr.* (manwgl) The small particles, or parts, amongst corn, or other things; the small or empty grains of corn; also called *hedion*, *gwehilion*, and *manion*.
**Manylai**, *s. c.—pl.* manyleion (manwl) Exact one.
**Manylaidd**, *a.* (manwl) Somewhat exact, or nice.
**Manyledd**, *s. m.* (manwl) Exactness, nicety.
**Manyliad**, *s. m.* (manwl) A rendering accurate, correct, or nice; a becoming exact or careful.
**Manyliannawl**, *a.* (manyliant) Punctilious.
**Manyliannu**, *v. a.* (manyliant) To render exact, to be exact, or punctilious.
**Manyliannus**, *a.* (manyliant) Punctilious.
**Manyliant**, *s. m.* (manwl) Refinement.
**Manylrwydd**, *s. m.* (manwl) Exactness, nicety.
**Manylu**, *v. a.* (manwl) To render accurate, correct, or nice; to be accurate, nice, or careful.

Manylu am a wnelwyf.

*To be careful* about what I do.
*Edm. Prys.*

**Manylus**, *a.* (manwl) Of a curious or nice nature.
**Manylwaith**, *s. m.* (manwl—gwaith) Curious or nice work; a nice operation.
**Manylwch**, *s. m.* (manwl) Accuracy, or nicety.
**Manylweithiaw**, *v. a.* (manylwaith) To make curious or nice work.
**Manysgrubl**, *s. pl. aggr.* (man—ysgrubl) The smaller kind of animals.

Y dystain a'r cog biau grwyn y manysgrubl: sef yw y rhai hyny y defaid, a'r wyn, a'r mynau, a'r lyrch, a'r elanedd, a phob manllwdn y del ei groen i'r gegin amdano.

The house steward and the cook own the skins of the *small beasts*: that is to say those are the sheep, and the lambs, and the kids, and the roes, and the deers, and every small animal whose skin shall come into the kitchen upon it.
*Welsh Laws.*

**Mäon**, *s. pl. aggr.* (ma) Those who fill a space, or compose a state; the people, the multitude, or inhabitants; subjects of the realm.

Afallen beren bren——
Ymsathr yn ei bon, mäon yn ei chylch.

The apple-tree, of fragrant growth, there is the mark of treading at its stem, the *multitude* surround it.
*Myrddin.*

Rhwyfant mäon meddlyn.

The *multitude* will pass about the mead liquor.
*Llefoed.*

Delliś Gruffudd mawr, a mäon Prydain,
Nid prydferth i'w alon,
Lle teg, teyrnwaith udd Mon,
Llys er lles i feddygon.

Gruffudd the great did hold, with the *people* of Britain, not pleasant to his foes, a fair place, the princely work of the chief of Mon, a court for the benefit of those who cure themselves with mead.
*Ll. P. Moch, i R. ab Hywel.*

Clyr y claer wyndiredd,
Nid Saeson y mäon a'i medd.

The minstrelsy of the clear happy regions, the Saxons are not the *people* who possess it.
*Ll. P. Moch.*

Balch ei fenwyd, beilch ei fäon.

Elate his joy, and elate his *people*.
*Gwalchmai.*

Digardd hardd ei fardd a'i fäon.

Without restraint and splendid his bard and his *people*.
*H. Foel ab Griffri.*

Ef yw'r naf mwyaf, a fag mäon byd;
Bid awdur y Brython!

He is the greatest prince, which the *inhabitants* of the world support; may he be the maker of the Britons!
*D. y Coed, i Hop. ab Thomas.*

**Mapwl**, *s. m.* (ma—pwl) A knob on the middle of any thing; a mop.
**Mar**, *s. m.* (my—ar) That is active, or flitting. *a.* Flitting about.
**Maran**, *s. f.—pl. t.* au (mar) A holme of moving pebbles; shifting ground; a strand, also a spawner; a spawning salmon.

Llyfn mor, llawen maranedd.

Smooth the sea, sportive the *spawners*.
*Aneurin.*

Mi a wnaf——
It well no thrichan maran.

I will do for thee better than three hundred *spawners*.
*Taliesin.*

**Maranawg**, *a.* (maran) Abounding with holmes.
**Maranedd**, *s. m.* (maran) A holme, or flat piece of ground formed by water; a multitude.

Maranedd gwedy mordwy,
A ddylyned cad cylchwy.

The *strand*, after sailing, was followed to surround the sight.
*Llywarch Hen.*

Am dano gwyledd,
A lliaws maranedd:
Eurdeyrn Gogledd,
Arbenig teyrnedd.

Around him a modest demeanour, and the varied *multitude*: the splendid prince of the North, the choicest of princes. *Taliesin, i Urien.*

Rhys, ail Walchmai, ddifai, ddifeil fonedd
Peredur, llafn-ddur, mur maranedd.

Rhys, like Gwalchmai, faultless, of unspotted lineage of Pereder, with steely blade, the bulwark of the *people*. *Einion Len.*

Caraf ei brŏedd——
A'i diffaith mawr-faith, a'i maranedd.

I love its cultivated vales, and its far-extending wilds, and its *strand*. *Hywel ab Owain.*

**Maraneddawg**, *a.* (maranedd) Having holmes.
**Maraneddiad**, *s. m.* (maranedd) A forming a holme
**Maraneddu**, *v. a.* (maranedd) To form a holme; to become a holme.
**Maraniad**, *s. m.* (maran) A forming a holme.
**Maranu**, *v. a.* (maran) To form holmes, or flats.
**Marc**, *s. m.—pl. t.* iau (mar) An impression upon any thing; a mark.
**Marciad**, *s. m.* (marc) A marking, an observing.
**Marciaw**, *v. a.* (marc) To mark; to observe.
**Marciwr**, *s. m.—pl.* marcwyr (marc—gwr) A marker; an observer.
**March**, *s. m.—pl.* meirch (my—arch) A horse, a steed. *March dyre*, a stallion; *march cad, cadfarch*, and *march mai*, a war-horse; *march malen*, the steed of Bellona; *march tom*, a drudge horse; *march tynu*, a draught horse; *march cynnud*, a horse for carrying fuel; *march cynfas*, a stalking horse.

Nid rhywiawg ond march.

Nought tractable but a *horse*. *Adage.*

Gorea march ŵn a'm dyco.

The best *horse* is the one that will carry me. *Adage.*

March ab Meirchion, pa beth bynag a gyffyrddai a droai yn aur; a chlustiau march oedd iddo.

March the son of Meirchion, whatsoever he touched he would turn to gold; and he had the ears of a *horse*. *Hen-chwedlau.*

**March**, *a.* (my—arch) Towering, rearing; of luxuriant growth. *March wreinnyn*, a ringworm; *march fiaren*, a white brier; *march redyn*, the oak-fern; *march ddyrnawd*, a great thump.
**Marchai**, *s. c.—pl.* marcheion (march) A rider.
**Marchaidd**, *a.* (march) Like a horse, horse-like.
**Marchalan**, *s. m.* (march—alan) Elecampane.
**Marchasyn**, *s. m.—pl. t.* od (march—asyn) A male ass, a jackass.
**Marchau**, *v. a.* (march) To ride a horse.
**Marchawg**, *a.* (march) Having a horse, horsed. *s. m.—pl.* marchogion. That has a horse; a cavalier, a horseman; a knight; also a jug, in *Dyfed*.

Cais farchawg da dan draed ei farch.

Seek for a good *rider* under the feet of his horse. *Adage.*

**Marchawglu**, *s. m.—pl. t.* oedd (marchawg—llu) A body or squadron of horse; cavalry.

Achel a gyweiriws ei farchawglu, ac ai hanfones yn barawd i Agamemnon.
Achilles put in order his *cavalry*, and sent it in readiness to Agamemnon. *H. Dared.*

**Marchawgwisg**, *s. f.—pl. t.* oedd (marchawg—gwisg) A riding-habit, a riding-dress.

Gwared ei marchawgwisg hi amdanei a orug.

Pull off her *riding-habit* from her was what she did. *H. Geraint—Mabinogion.*

**Marchawl**, *a.* (march) Belonging to a horse.
**Marchawr**, *s. m.—pl.* marchorion (march) A horseman, a cavalier.
**Marchbren**, *s. m.—pl. t.* au (march—pren) A supporting timber, or main beam. *Marchbren mewn odyn faes yn cynnal y cledr crasu*, a main timber in a field kiln supporting the drying frame.
**Marchdaran**, *s. f.—pl. t.* au (march—taran) A loud thunder.

Ant——
I blith y gethern
I waelawd uffern,
Lle mae mignwern
Wedi mignaw,
A phob marchdaran yn ymdaraw.

They will go amongst the fiends, to the bottom of hell, where there is a quaggy bog covered over, and every *harsh thunder* re-echoing. *Gr. Ynad Goch.*

**Marchdy**, *s. m.—pl. t.* au (march—ty) A stable.
**Marchddyrnawd**, *s. m.* (march—dyrnawd) A great blow, or stroke.
**Marchfaen**, *s. m.—pl.* marchfeini (march—maen) A horseblock.

Addwyn ewynawg am farchfain.

It is pleasant to see *horseblocks* sprayed over with foam. *Taliesin.*

**Marchfeillion**, *s. pl. aggr.* (march--meillion) Clover
**Marchfiaren**, *s. f.* (march—miaren) A white brier
**Marchfieri**, *s. pl.* (march—mieri) White briers.
**Marchforgrugyn**, *s. m.* (march—morgrugyn) A large kind of ant; otherwise called *morgrugyn asgellawg*, or winged ant.
**Marchforion**, *s. pl. aggr.* (march—morion) The large winged ants.
**Marchgau**, *v. a.* (march—cau) To ride. *A efe i farchgau yn fore iawn*, he goes to ride very early. *Dyfed.*
**Marchgen**, *s. m.—pl. t.* au (march—cen) A horse's skin; also a thong of a horse's skin.
**Marchgod**, *s. f.—pl. t.* au (march—cod) A saddle-bag
**Marchgorn**, *s. m.—pl.* marchgyrn (march—corn) The outer part or shell of a horn.
**Marchiad**, *s. m.* (march) A lifting; a horsing.
**Marchlan**, *s. f.—pl. t.* au (march—llan) A stable.
**Marchleidr**, *s. m.—pl.* marchleidron (march—lleidr) An arrant thief.

Marchleidr a grog y corleidr

The great thief will hang the petty thief. *Adage.*

**Marchlu**, *s. m.—pl. t.* oedd (march—llu) Cavalry.
**Marchnad**, *s. f.—pl. t.* oedd (marchyn) A lifting up, or exposing; a market.

Can ebrwydded yn y farchnad
Groen yr oen a chroen y ddafad.

As frequent in the *market* the skin of the lamb as the skin of the sheep. *Adage.*

**Marchnadawl**, *a.* (marchnad) As to a market.
**Marchnadiad**, *s. m.* (marchnad) A marketting.
**Marchnadu**, *v. a.* (marchnad) To market.
**Marchnadwr**, *s. m.—pl.* marchnadwyr (marchnad—gwr) A market-man; a chapman.
**Marchnadwraig**, *s. f.—pl.* marchnadwreigedd (marchnad—gwraig) A market-woman.
**Marchnadwriaeth**, *s. m.* (marchnadwr) The business of a market-man.
**Marchnadydd**, *s. m.—pl. t.* ion (marchnad) A market-man, a chapman.
**Marchnadyddes**, *s. f.—pl. t.* au (marchnadydd) A market-woman.
**Marchnata**, *v. a.* (marchnad) To market.
**Marchnatâad**, *s. m.* (marchnata) A marketting.
**Marchnatâawl**, *a.* (marchnata) As to marketting.
**Marchnatâwr**, *s. m.—pl.* marchnatâwyr (marchnata—gwr) A market-man.
**Marchnatiad**, *s. m.* (marchnad) A marketting.
**Marchnatty**, *s. m.—pl. t.* au (marchnad—ty) A market house.
**Marchnatwr**, *s. m.—pl.* marchnatwyr (marchnad—gwr) A market-man; a chapman.

**Marchnatwraig**, *s. f.*—*pl.* marchnatwreigedd (marchnad—gwraig) A market-woman.
**Marchocâad**, *s. m.* (marchawg) A riding on horse-back.
**Marchocâawl**, *a.* (marchawg) Relating to horsemanship.
**Marchocâu**, *v. a.* (marchawg) To ride on horse-back, to ride. This is mostly used in the SILURIAN, and *marchogaeth* in the NORTH-WALIAN dialect.
**Marchocâwr**, *s. m.*—*pl.* marchocâwyr (marchawg—gwr) A horseman, a rider.
**Marchogaeth**, *s. m.* (marchawg) Horsemanship, riding; chivalry, knighthood.

Gwalchmai a rodded—i ddysgu moes, a marchogaeth, a lladd a chleddyf.

Gwalchmai was placed to learn manners, and *horsemanship*, and the use of the sword. *Gr. ab Arthur.*

**Marchogaeth**, *v. a.* (marchawg) To practise horsemanship, or riding; to ride.
**Marchogaethiad**, *s. m.* (marchogaeth) The practising of horsemanship.
**Marchogaethu**, *v. a.* (marchogaeth) To practise horsemanship.
**Marchogaid**, *s. m.*—*pl.* marchogeidiau (march-awg) A jug-full.
**Marchogawl**, *a.* (marchawg) Equestrian.
**Marchoges**, *s. f.*—*pl. t.* au (marchawg) A horse-woman, a riding-woman; a female chevalier.

Dyma farchoges fawr, yn taro wrth y brenin yn ngwrthol ar ei hynt—Hol modryb a'r clos, ebai rhyw ddiawl croch, nosda iwch!

Here comes a *bouncing lady*, falling against the king's back in her course.—Ha! Madam with the breeches, cried some hoarse fiend, good night to you! *Blis Wyn, B. Cwsg.*

**Marchogiaeth**, *s. m.* (marchawg) Knighthood.
**Marchogwr**, *s. m.*—*pl.* marchogwyr (marchawg—gwr) A rider, a horseman.
**Marchogwraig**, *s. f.*—*pl.* marchogwreigedd (marchawg—gwraig) A horse-woman.
**Marchon**, *s. f.* march—on) The male ash.
**Marchonen**, *s. f.* (marchon) A male ash-tree.
**Marchrawd**, *s. f.*—*pl.* marchrodion (march—rhawd) A troop or army of horse; cavalry.
**Marchredyn**, *s. pl. aggr.* (march—rhedyn) The oak fern, or polypody; also called *rhedyn y derw.*
**Marchredynen**, *s. f.* (marchredyn) Shield-fern; *marchredynen wryw*, male-fern.
**Marchridyll**, *s. m.*—*pl. t.* iau (march—rhidyll) A sifter, or skreen.
**Marchruddygl**, *s. m.* (march—rhuddygl) Horse-radish; also called *rhuddygl Mawrth.*
**Marchwas**, *s. m.*—*pl.* marchweision (march—gwas) A horseman, a cavalier.
**Marchwiail**, *s. pl. aggr.* (march—gwiail) Saplings.

Marchwiail, bedw briglas
A dyn fy nhroed o wanas:
Nac addef rin i was.

The *saplings* of the green-topt birch will get my foot out of the shackle: disclose no secret to a youth. *Llywarch Hen.*

**Marchwialen**, *s. f.* (marchwiail) A sapling.
**Marchwr**, *s. m.*—*pl.* marchwyr (march—gwr) A horseman; a jockey, a groom; a horse-breaker.

Gwell marchwr gwerthu nog un prynu.

A selling *jockey* is superior to a buying one. *Adage.*

**Marchwraig**, *s. f.*—*pl.* marchwreigedd (march—gwraig) A horse-woman.
**Marchwraint**, *s. pl. aggr.* (march—gwraint) Tetters.
**Marchwreinnyn**, *s. m.* (marchwraint) A ringworm.
**Marchwriad**, *s. m.* (marchwr) Acting as a jockey.
**Marchwriaeth**, *s. m.* (marchwr) The art of managing horses, horsemanship, jockeyship.
**Marchwriaw**, *v. a.* (marchwr) To act as a jockey.
**Marchwys**, *s. pl. aggr.* (march—gwys) Horsemen.
**Marchysgall**, *s. pl. aggr.* (march—ysgall) The spear thistle. *Marchysgall dôf, marchysgall y gerddi*, artichokes.
**Marchysgallen**, *s. f.* (marchysgall) A spear thistle.
**Mared**, *s. m.* (mar) That is active or lively.
**Maredawg**, *a.* (mared) Active, agile, quick, nimble

Muner foddawg,
Maer anneddawg,
Maredawg doeth.

A willing distributer, a house occupied steward, *active*, and wise.

**Maredw**, *a.* (mared) Devoid of action.

Dalar, un cywar, a'n cudd,
Deon derw maredw Maredudd.

Earth, one small space, hides us, the separating oak plank from the *lifeless Maredudd.* *Ll. P. Moch.*

**Margan**, *s. f.* (mar—can) A feigned being, or goddess, to whom was assigned to conduct souls on their departure from the bodies at death.

Pwy yw Margan dwywes o annwn.

*Margan* which is a goddess of the insensate state. *Mabinogion.*

**Marian**, *s. m.*—*pl. t.* au (mar) A flat, or holme, such factitious ground as is deposited by water, a strand; also called *marnn.*
**Marianawg**, *a.* (marian) Abounding with holmes.
**Mariandir**, *s. m.*—*pl. t.* oedd (marian—tir) Holme-land, formed of pebbles moved about.
**Marianedd**, *s. m.* (marian) A holme, a haugh.
**Marianfa**, *s. m.*—*pl. t.* oedd (marian) A place consisting of holmes or pebbles.
**Marianiad**, *s. m.* (marian) A forming a holme.
**Mariannu**, *v. n.* (marian) To form a holme.
**Marl**, *s. m.* (mar) Earth deposited by water; a rich kind of clay, marl.
**Marlaidd**, *a.* (marl) Of a marly quality.
**Marlawg**, *a.* (marl) Abounding with marl.
**Marlbridd**, *s. m.* (marl—pridd) A marly soil.

Nid erddir marlbridd iddi.

No *marly earth* will be ploughed for her. *D. ab Gwilym, I'r fwyalch.*

**Marledig**, *a.* (marl) Being marled; turned to marl
**Marliad**, *s. m.* (marl) The act of marling.
**Marliaw**, *v. a.* (marl) To marl, to manure with marl; to become marl.

Mae'r wlad wedi marliaw ym.

The country is finished *marling* for me. *I. Deulwyn.*

**Marm**, *s. m.* (mar) Dead earth; chalk.
**Marmawr**, *s. m.* (marm) That consists of chalky earth; marble; also called *mynor.*
**Marmoraidd**, *a.* (marmawr) Like marble.
**Marmorawg**, *a.* (marmawr) Having marble.
**Marmori**, *v. n.* (marmawr) To become marble.
**Marth**, *s. m.*—*pl. t.* au (mar) That is plain or open; that is evident.

Marth marw eurdeyrn Gogledd;
Gwynfryn ei syddyn ery!

*Evident* the death of the splendid prince of the North; the white hill is his lasting abode! *Myrddin.*

Ystryw chwerw——
Ail marth mawr mor de;
Ail yrth; ail syrth se——
Yw lladd Llywelyn!

A bitter idea: like the great *swell* of the sea of the south; like a torpor: like the fall of light, is the slaying of Llywelyn. *Gwalchmai.*

**Marth**, *a.* (mar) Of evident or open quality; certain, swelling, heavy.

**Rheiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhai) A radiating.
**Rheian**, *s. f.—pl. t.* au (rhai) A streak. *Rheian las*, a blue streak or weal.
**Rheianawg**, *a.* (rheian) Having streaks or weals.
**Rheianawl**, *a.* (rheian) Tending to streak.
**Rheianu**, *v. a.* (rheian) To streak, or to stripe.
**Rheiaw**, *v. a.* (rhai) To radiate; to gleam.
**Rheiawg**, *a.* (rhai) Abounding with radiation.

Dybu brenin Lloegr yn lluyddawg;
Cyd daeth ef nid aeth yn warthegawg:
Ni yn Eryri yn rheiawg.

The king of England came with a numerous host; though he came he did not return with spoil: We were *gleaming* in Eryri. *Meilyr.*

**Rheiawl**, *a.* (rhai) Darting, gleaming, shooting.
**Rheiawr**, *s. m.* (rhai) That darts or that gleams.

Crau cyrchynt, cynnullynt reiawr,
Yn cynan mal taran twrf aesawr.

Blood they sought, the *gleamers* assembled, tumultuous like thunder the din of shields. *Aneurin.*

**Rheibes**, *s. f.—pl. t.* au (rhaib) A witch.
**Rheibiad**, *s. m.* (rhaib) An overpowering; a forcing from; a fascination, a bewitching.
**Rheibiadaeth**, *s. m.* (rheibiad) Witchery.
**Rheibiadu**, *v. a.* (rheibiad) To overcome by invincible power; to fascinate.
**Rheibiadus**, *a.* (rheibiad) Fascinating, bewitching
**Rheibiadwy**, *a.* (rheibiad) Capable of being overcome or fascinated.
**Rheibiaeth**, *s. m.* (rhaib) Rapacity; witchery.
**Rheibiannawl**, *a.* (rheibiant) Fascinating.
**Rheibiannu**, *v. a.* (rheibiant) To fascinate.
**Rheibiannus**, *a.* (rheibiant) Fascinating.
**Rheibiant**, *s. m.* (rhaib) A forcibly possessing; fascination; a bewitching.
**Rheibiator**, *ger.* (rheibiad) In fascinating.
**Rheibiaw**, *v. a.* (rhaib) To snatch by force; to captivate, to fascinate, to bewitch.
**Rheibiawg**, *a.* (rhaib) Having a power; rapacious, fascinous, bewitching.
**Rheibiawl**, *a.* (rhaib) Forcing, overpowering; fascinating, bewitching.
**Rheibiedig**, *a.* (rheibiad) Being taken by force; fascinated, bewitched.
**Rheibiedigaeth**, *s. m.* (rheibiedig) Fascination.
**Rheibiedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rheibiad) One who forcibly captivates, a fascinator.
**Rheibioldeb**, *s. m.* (rheibiawl) The state of being captivated or fascinated.
**Rheibioli**, *v. a.* (rheibiawl) To render fascinating.
**Rheibitor**, *sup.* (rhaib) To be captivating.
**Rheibiwr**, *s. m.—pl.* rheibwyr (rhaib—gwr) A captivator, a fascinator.
**Rheibog**, *s. f.* (rhaib) The power of digestion.

A cholli rheibog aeth ei chylla 'n lludw.

And losing a *power of digestion* her stomach became as ashes. *Madawg Dwygraig.*

**Rheibus**, *a.* (rhaib) Rapacious; bewitching.

Rheibusaf un yn holl wlad Gymmru
Yw'r un deudroediawg a wyr lefaru.

The *most rapacious* one in the whole country of Wales is the one with two legs who is wont to harangue. *Adage.*

**Rheibusaw**, *v. a.* (rheibus) To become rapacious.
**Rheibusrwydd**, *s. m.* (rheibus) Rapaciousness.
**Rheidedd**, *s. m.* (rhaid) Necessity, or want.

Tori newyn tlawd bob tro,
A syched lle bo rheidedd.

Breaking the hunger of the poor at all times, and the want of drink where *necessity* exists. *Slanc. S. Hywel.*

**Rheidgnawd**, *s. m.* (rhaid—gnawd) A natural or habitual need.

Nid gair gau, ef goreu gwron——
Hyd warawd rheidgnawd rheidusion.

It is no false word, he is the most virtuous person, for relieving the *habitual need* of necessitous ones. *Cynddelw, i O. Gwynedd.*

**Rheidiad**, *s. m.* (rhaid) A necessitating.
**Rheidiannawl**, *a.* (rheidiant) Necessitating.
**Rheidiannu**, *v. a.* (rheidiant) To necessitate.
**Rheidiant**, *s. m.* (rhaid) Necessity, or need.
**Rheidiaw**, *v. a.* (rhaid) To necessitate, to need.
**Rheidiawg**, *a.* (rhaid) Necessitous, necessary.
**Rheidiawl**, *a.* (rhaid) Necessary, needful.
**Rheidiolaeth**, *s. m.* (rheidiawl) Necessariness.
**Rheidioldeb**, *s. m.* (rheidiawl) Necessariness.

Tri chyfystyr doethineb; rheidioldeb, moddoldeb, a buddioldeb.

The three considerations of wisdom; necessity, means, and benefit. *Catwg Ddoeth.*

**Rheidiolder**, *s. m.* (rheidiawl) Necessariness.
**Rheidioledd**, *s. m.* (rheidiawl) Requisiteness.
**Rheidioli**, *v. a.* (rheidiawl) To render necessary.
**Rheidiolrwydd**, *s. m.* (rheidiawl) Necessariness.
**Rheidrwydd**, *s. m.* (rhaid) Necessity, or need.
**Rheidus**, *a.* (rhaid) Necessitous, needy. *Rheidusion*, needy ones, beggars.

Gwedi dawed Braint Hir i borth Hamwnt i dir, ef a gymerai wisg rheidus amdano, ac yn rhith anghenawl kerdded—ac ymgymysgu â rheidusion a orug, y rhai a oeddynt yn araws alusen yn mhorth llys y brenin.

After the coming of Braint to the port of Hamont to land, he put on a *begger* garb, and under the appearance of want he proceeded, and mixed with *necessitous ones*, the which were waiting for alms in the gate of the king's palace. *Gr. ab Arthur.*

**Rheidusaidd**, *a.* (rheidus) Somewhat needy.
**Rheidusaw**, *v. a.* (rheidus) To become necessitous.
**Rheidusddyn**, *s. m.—pl. t.* ion (rheidus—dyn) A necessitous person.
**Rheidusedd**, *s. m.* (rheidus) Neediness, poverty.
**Rheidusni**, *s. m.* (rheidus) Neediness, poverty.
**Rheidusrwydd**, *s. m.* (rheidus) Necessitousness.
**Rheidusyn**, *s. m. dim.* (rheidus) A pauper.
**Rheidwg**, *s. m.* (rhaid) A necessary thing.
**Rheidwy**, *s. m.—pl. t.* on (rhaid) A voyage.

Gruffudd a esgynws ei long ac a ymchwelws o'i reidwy hyd yn Aber Menai.

Grufudd ascended his ship and returned from his *expedition* unto Aber Menai. *Buch. Gr. ab Cynan.*

**Rheiddiad**, *s. m.* (rhaidd) A casting rays.
**Rheiddiaw**, *v. a.* (rhaidd) To beam, to cast rays; to lance, or to cast a lance.

Ar bob rhai rheiddiai yn eur-rhoddawg.

Upon all *he would beam* with golden bounty. *Meilyr.*

**Rheiddiawd**, *s. m.* (rhaidd) A radiation; a lancing
**Rheiddiawg**, *a.* (rhaidd) Having rays; pervading, apt to cast forward; bearing a lance.

Rheiddiawg achenawg ar ffo.

The necessitous on flight is *violently impelled.* *Adage.*

Rheiddin a'm rhoddes Hywel
Rheiddiawg, feiniawg, fanawg fil;
Cefais gan dreth orddethol
Tarw teg Talgarth yn ngwarthal.

*Freely* did Hywel bestow on me a *scattering*, sleek, and spotted beast; I obtained as a choice contribution the fair bull of Talgarth in the yoke. *Cynddelw, i H. ab Ieuaf.*

**Rheiddiawl**, *a.* (rhaidd) Radiating; lancing.
**Rheiddiawr**, *s. m.* (rhaidd) That beams; lancer.
**Rheiddin**, *a.* (rhaidd) Tending to radiate or to dart; pervading; profuse.

Duw Dofydd dymrhydd reiddin awen ber,
Mal o bair Cyridwen.

God the supreme ruler on me bestows the *ready* melodious muse, as if from the cauldron of Cyridwen. *Ll. P. Moch.*

**Rheiddlym**, *a.* (rhaidd—llym) Sharp-lanced.
**Rheiddrudd**, *a.* (rhaidd—rhudd) Ruddy-lanced.

**Rheiddun**, *s. m.* (rhaidd) One who darts or throws forward; a profuse one, one who thrusts.

> Dy hil—
> O Faelgwn Gwynedd, gwinfaeth reiddun.

Thy descent is from Maelgwn Gwynedd, a wine-fostered *profuse one*. *Gwalchmai.*

**Rheiddus**, *a.* (rhaidd) Radiating, darting; pervasive; profuse, or lavish.

**Rheiddwar**, *a.* (rhaidd—gwar) Mildly profuse.

**Rheiddyn**, *s. m. dim.* (rhaidd) A dart, or glance.

**Rheiniad**, *s. m.—pl.* rheiniaid (rhain) A lancing.

> Bid las lluarth; bid diwarth eiriad;
> Bid rheiniad yn nghyfarth;
> Bid wraig ddrwg a mynych warth.

Let the camp be green; let the peacemaker be void of reproach; be there a *spearing* in the defile; be the bad woman bearing frequent shame. *Llywarch Hen.*

**Rheiniaw**, *v. a.* (rhain) To use a lance, to lance.

**Rheiniawg**, *a.* (rhain) Having a lance, lance-bearing. *s. m.* A spear-bearer.

> Er yfais i win o gawg,
> Ef a ragwan rhag rheiniawg:
> Esgyll gwawr oedd gwaewawr Dawg.

For what of wine I from a cup have drank, he would rush forward against the *lance-bearer*: the gleamings of the spear of Dawg were as the wings of the morning. *Llywarch Hen.*

**Rheiniawl**, *a.* (rhain) Lancing, or spearing.

**Rheiniwr**, *s. m.—pl.* rheiniwyr (rhain—gwr) A lancier; one who bears a lance.

**Rheinydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhain) A lancier.

**Rheithawr**, *s. m.—pl.* rheithorion (rhaith) Rector

**Rheitheg**, *s. f.* (rhaith) Canon of speech.

**Rheithfawr**, *a.* (rhaith) Of great rectitude. *Rheithforion*, severely just ones.

> Dofydd ren reithfawr, gwawr gwir.

The Supreme Lord *strictly just*, light benign. *Cynddelw.*

**Rheithiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhaith) The act of setting right; regulation.

> Ni ddylai fod gair yn anmhur Gymmraeg, sef yn wrthwyneb i reithiad, ac iawnbwyll, ac anian, ac amcan.

There should not be a word of impure Welsh; that is, contrary to *regulation*, and just sense, and nature, and intention. *Llywelyn o Langewydd.*

**Rheithiadawl**, *a.* (rheithiad) Canonical.

**Rheithiadu**, *v. a.* (rheithiad) To establish a principle of right; to fix a canon or rule.

**Rheithiadur**, *s. m.—pl. t.* on (rheithiad) A principle of regulation, a canon.

**Rheithiadus**, *a.* (rheithiad) Canonical, regular.

**Rheithiaw**, *v. a.* (rhaith) To set right, to establish as law; to appoint a jury.

**Rheithiawg**, *a.* (rhaith) Having an established rule, law, or canon; having a jury.

**Rheithiawl**, *a.* (rhaith) Established as a law.

**Rheithiawr**, *s. m.* (rhaith) A right principle.

**Rheithioli**, *v. a.* (rheithiawl) To render canonical

**Rheithioreg**, *s. f.* (rheithiawr) Rhetoric.

**Rheithiwr**, *s. m.* (rhaith) One who sets right, one who gives effect to law; one sworn to do right; a juryman, a juror.

> Llw rheithiwr yw bod yn debycaf gantho fod yn wir yr hyn a dyngo.

The oath of a *juror* implies that what he swears appears most likely to him to be true. *Welsh Laws.*

**Rheithleu**, *s. m.* (rhaith—lleu) The light of righteousness, the luminary of justice.

> Cyd rybwyf gan fy rhwyf, rwy gwna
> Rheen rheithleu rhau rad gyfa;
> Rhadlawn doeth rwyf cyfoeth coffa.

Whilst I shall have been with my director, amply may the Supreme Being, the *light of justice* to princes, perform a complete act of grace; may he regard the bountiful ruler of the realm.

**Rheithwraig**, *s. f.—pl.* rheithwreigedd (rhaith—gwraig) A jury-woman.

**Rhel**, *s. m.* (rhe) That is flagging or trailing.

**Rhelyw**, *s. m.* (rhel) What comes after; a trail; remainder; rest, or residue.

**Rhem**, *s. m.* (rhe—em) That is apt to run out to extreme; that projects out.

**Rhemawg**, *a.* (rhem) Having a protuberance.

**Rhemeiniaw**, *v. a.* (rhamant) To swagger.

> Mae efe yn myned i remeiniaw yno.

He is going there *to be swaggering*.

**Rhemiad**, *s. m.* (rhem) A running out, a swelling out; a projecting.

**Rhemial**, *s. m.* (rham) A confused talk; a muttering, a murmuring. *v. a.* To make a muttering noise.

> Pa remial, ar bob tailfainc,
> A gaid o'th god gyda'th gainc?

What muttering on every front form, is had from thy bag along with thy song? *Sir Dafydd Trefor.*

**Rhemiala**, *v. a.* (rhemial) To make a muttering.

**Rhemialus**, *a.* (rhemial) Muttering, babbling.

**Rhemmwth**, *s. m.* (rhemp) A gorbelly, a paunch.

**Rhemmog**, *s. f.* (rhemp) A swelling paunch.

**Rhemp**, *s. f.* (rhem) An extreme; an excess; that is notorious. *Mae rhemp arno*, he is under an infatuation. *a.* Bewitched, infatuated. *Mae hi yn rhemp*, she is bewitched, or notoriously bad.

> Canmawl rhemp fo'n ddawn.

Some *eccentricity* accompanies *excellence*. *Adage.*

**Rhempiad**, *s. m.* (rhemp) A running to extreme; a rendering notorious; a becoming notorious; infatuation; a bewitching.

**Rhempian**, *v. a.* (rhemp) To snatch up, to devour greedily. *Ei rempian a wnant i gyd*, they will snatch it all up.

**Rhempiaw**, *v. a.* (rhemp) To run to an extreme; to bewitch; to be infatuated.

**Rhempiwr**, *s. m.—pl.* rhempwyr (rhemp—gwr) One who snatches up; a gormandizer.

**Rhempus**, *a.* (rhemp) Notorious; infatuated.

**Rhempusrwydd**, *s. m.* (rhempus) Notoriousness; the state of being infatuated.

**Rhen**, *s. m.* (rhe—en) A pervading principle; an influence; the Eternal.

**Rhenc**, *s. f.—pl. t.* iau (rheng) A row, a rank.

**Rhenciad**, *s. m.* (rhenc) A placing in a row.

**Rhenciaw**, *v. a.* (rhenc) To dispose in a row.

**Rhenciedig**, *a.* (rhenciad) Placed in a row.

**Rhenciwr**, *s. m.—pl.* rhenciwyr (rhenc—gwr) One who places in a row or rank.

**Rhent**, *s. m.—pl. t.* i (rhen) An influx; a coming in; an income: rent.

> Nid rhent ond diwydrwydd.

There is no *income* like industry. *Adage.*

> Gwawd yn Ngwent rent aroglau,
> Ac ymborth, a thorth, a thir o'r gorau.

The characteristic of Gwent is the *produce* of perfumes, and meat, and a loaf, and land of the best. *Sypyn Cyfeiliawg.*

> Gwr ni wyr groni arian;
> Ond y rhent yn dair rhan;
> Un i'w lys, a'i win o'i law,
> Wrth yr aelwyd i'w threuliaw;
> Yr ail i weiniad a rydd;
> At yr adail mae'r trydydd.

A man who knows not what it is to hoard money; for the *income* is in three portions; one for his hall, where the wine circulates from his hand, at the fire-side to be enjoyed; the second to the poor he gives; towards the building is the third. *Gutto y Glyn.*

**Rhentawl**, *a.* (rhent) Yielding a produce; belonging to income; belonging to rent.

**Rhentiad**, *s. m.* (rhent) A producing; a yielding an income; a renting.

**Rhentu**, *v. a.* (rhent) To produce, to get a produce; to have an income; to rent.

**Rheng**, *s. f.—pl. t.* oedd (rhe—eng) A row, a rank.

Rheng ddulas rhwng y ddwyfan.

A purple *streak* between the two banks. *R. Ddu, i Alun.*

**Rhengiad**, *s. m.* (rheng) A placing in a row.
**Rhengiaw**, *v. a.* (rheng) To set in a row, or rank.
**Rhengiawl**, *a.* (rheng) Running in rows.
**Rhengiedig**, *a.* (rhengiad) Being set in a row.
**Rhengiwr**, *s. m.—pl.* rhengiwyr (rheng—gwr) One who places in a row.
**Rheodig**, *a.* (rhëawd) Persevering on a course.

Dothyw i Ddewi, ddiffreidiad teg,
Rhys mawr, Mon wledig, reodig reg.

There came to Dewi, of fair protection, after a great *career*, the Sovereign of Mon, with a *continuing* gift. *Gwyn. Brycheiniawg.*

**Rheol**, *s. f.—pl. t.* au (rhe—ol) Rule, or order.

Goruchel Rhen, reol diffryd;
Goludawg arglwydd goleuad byd,
Gorpwyf, Greawdr nef, nerth y geryd,
Gobryd gwreled gwledd yn bedd ynyd!

The Most High Eternal, whose *providence* is a refuge; mighty Lord the light of the world, be there to me, Creator of heaven, strength from thee, in due time to see a feast in felicity without end! *Meilyr ab Gwalchmai.*

Pawb ol-yn-ol
Gwnaent trwy reol
Ran wyliau,
O nos i nos
Fal chwant aros
Cyfarosau.

Every body in succession would according to *rule* bear a part in vigils, from night to night, as if wishfully waiting for presents. *Madawg ab Gwallter.*

**Rheolaidd**, *a.* (rheol) Orderly, or regular.
**Rheoledig**, *a.* (rheol) Ordered, or regulated.
**Rheoledigaeth**, *s. f.* (rheoledig) Regulation.
**Rheoleiddiad**, *s. m.* (rheolaidd) A rendering regular; a becoming orderly or regular.
**Rheoleiddiaw**, *v. a.* (rheolaidd) To render orderly.
**Rheoleiddrwydd**, *s. m.* (rheolaidd) Canonicalness.
**Rheoli**, *v. a.* (rheol) To order, to rule, to sway.
**Rheoliad**, *s. m.* (rheol) An ordering, a directing.
**Rheolus**, *a.* (rheol) Orderly; easily ruled.
**Rheolusedd**, *s. m.* (rheolus) Orderliness.
**Rheolusrwydd**, *s. m.* (rheolus) Orderliness.
**Rheolwr**, *s. m.—pl.* rheolwyr (rheol—gwr) One who orders; a ruler, a conductor.
**Rheonllys**, *s. m.* (rhe—llys) Rhubarb.
**Rhes**, *s. f.—pl. t.* i (rhe—es) A row, or rank.
**Rhesawl**, *a.* (rhes) Belonging to a row or rank.
**Rhesedig**, *a.* (rhes) Being ranged or set in a row.
**Rhesel**, *s. m.—pl. t.* i (rhes) A rack, a grate.
**Rheselawg**, *a.* (rhesel) Having a rack or grate.
**Rheseliad**, *s. m.* (rhesel) A forming into a rack.
**Rheselu**, *v. a.* (rhesel) To form a rack or grate.
**Rhesiad**, *s. m.* (rhes) A placing in a row.
**Rhesiaw**, *v. a.* (rhes) To place in a row or rank.
**Rhest**, *s. m.* (rhes) What is set in parallel rows.
**Rhestl**, *s. m.—pl.* rhestlau (rhest) A rack.
**Rhestog**, *s. f.—pl. t.* au (rhest) Plaited mat.
**Rhestr**, *s. f.—pl. t.* au (rhest) Array, rank.
**Rhestraidd**, *a.* (rhestr) Partly ranged in rows.
**Rhestrawg**, *a.* (rhestr) Having rows or ranges; plaited, or matted; rowed, *s. f.* A plaited target, or buckler.
**Rhestrawl**, *a.* (rhestr) Ordinal; arrayed. *Rhestrolion*, ordinal numbers.
**Rhestredig**, *a.* (rhestr) Ranged or arrayed.
**Rhestredigaeth**, *s. m.* (rhestredig) Arrangement.
**Rhestriad**, *s. m.* (rhestr) A ranging; a marshalling.
**Rhestrig**, *s. f. dim.* (rhestr) A row, or range.

Callestrig restrig yn lle rhwystrom.

A flinty *ridge* where we should be impeded. *T. Prys.*

**Rhestru**, *v. a.* (rhestr) To range, to marshal.
**Rhestrwr**, *s. m.—pl.* rhestrwyr (rhestr—gwr) A man who sets in order, a marshaller.

**Rhesu**, *v. a.* (rhes) To set in a row, to range.
**Rheswydd**, *s. pl. aggr.* (rhes—gwydd) Joists.
**Rheswyddaw**, *v. a.* (rheswydd) To lay joists.
**Rheswydden**, *s. f. dim.* (rheswydd) A joist.
**Rhetgyr**, *s. m.* (rhed—cyr) A projecting snout.

Oian y parchellan, y parchell dedwydd,
Na chladd dy retgyr yn mhen mynydd.

Hark, thou pigling, the happy pig, burrow not thy *snout* on the top of the mountain. *Myrddin.*

**Rheth**, *s. f.* (rhe) A pervading quality.
**Rhethr**, *s. f.—pl.* rhethrau (rhethr) That pervades or runs into.
**Rhethrawr**, *s. m.* (rhethr) That thrusts a pike.
**Rhethren**, *s. f. dim.* (rhethr) A pike, a lance.

—Dy hwyl i Brydain
With dorf briw i'th wisg wen,
A'th ruthr i'r maes a'th rethren,
—Llwydded!

Thy course to Britain, while opening a track in thy white garb, and thy onset to the field with thy *pike*, be thou prosperous! *G. Ll. ab D. ab Einion*

**Rhĕu**, *v. a.* (rhe) To run about; to move.

Eiddil hen hwyr yd re.

Slender the aged, slowly he *moves along*. *Llywarch Hen.*

**Rheuedd**, *s. m.* (rheu) Activity, agility, speed.

Mor yw eilon mygr maint ei rheuedd.

How great the *activity* of the beauteous hinds! *Hywel ab Owain*

Dynia wl bobl ni-borthant iawnedd,
Iawn i Dduw difanw eu rheuedd.

Human kind who maintain not equity, it is just for God to take away their *activity*. *Cynddelw.*

**Rheuedda**, *v. n.* (rheuedd) To obtain activity.
**Rheueddawl**, *a.* (rheuedd) Of an active nature.
**Rheufawl**, *a.* (rhau—mawl) Of continuous praise.

Erglyw ddig tlawd yn goodawl erchi
Trugaredd iti, fy rhi rheufawl!

Hear the querulous wretch habitually craving mercy of thee, my Lord, *whose praise is universal.* *Elidr Sais.*

**Rheufedd**, *s. m.* (rheu—medd) Moveable property; affluence, plenty.

Rheufedd teyrnedd ti biau i drais.

The *property* of princes is thine by force. *Ll. P. Moch.*

Hil Iorwerth cannerth cain wallaw rheufedd.

The race of Iorwerth maintains the splendid distribution of *wealth*. *Bleddyn Fardd.*

**Rheufeddawg**, *a.* (rheufedd) Having abundance.

Pan fai gyfluydd o wyr gwychawg,
Atgoryn' deyrnedd yn rheufeddawg.

If there should be an assemblage of gallant men, the leaders would return *with abundance*. *Meilyr.*

**Rhew**, *s. m.* (rhe) That is beyond a current state, or become fixed; ice, frost.

Lleihäe rhew, lleihäe glew.

As the *ice* is diminished, activity is diminished. *Adage.*

Dybydd rhew i lyffant.

There will be *frost* for the frog. *Adage.*

Hawd dirywi rhew no dirywo rhyw.

It is easier to unfreeze *ice* than to change the nature of a thing. *Adage.*

**Rhewi**, *v. a.* (rhew) To produce ice; to freeze.
**Rhewiad**, *s. m.* (rhew) A producing ice; a becoming ice, a freezing.
**Rhewiedig**, *a.* (rhewiad) Become iced; frozen.
**Rhewin**, *s. m.—pl. t.* iau (rhew) A sudden glide, fall, or slip; a downfal, destruction, ruin. *a.* Ruinous.

A draig Mon, mor ddrud ei eillydd yn aer,
Y bu terfysg taer, a haer boll;
A rhagddo rhewys dwys dyfysrl,
A rhewin, a thrin, a tharanc cymmri.

Against the dragon of Mon, so bold his kindred in the slaughter, there was a violent tumult, and insulting claims; and before him ran dire confusion, and *ruin*, with conflict, and the end of preeminence. *Gwalchmai.*

**Rhewiniad**, *s. m.* (rhewin) A slipping, or falling down; a ruining; ruination.

**Rhewiniaw**, *v. a.* (rhewin) To cause to slip or to fall; to destroy; to ruin.

Py ddyrchefis mynydd cyn rhewiniaw elfydd!

Who uplifted the mountains before the elements *fell!* *Taliesin.*

A rhewiniaw Gwynedd
O'i heithaf a'i pherfedd.

And *destroy* Gwynedd from its utmost bound to its centre. *Taliesin.*

**Rhewiniawd**, *s. m.* (rhewin) The act of falling.

**Rhewiniawg**, *a.* (rhewin) Ruinous, decayed.

**Rhewiniawl**, *a.* (rhewin) Falling, ruinous.

**Rhewintor**, *sup.* (rhewin) To be falling.

Diwedd pob rhwyf rhewintor.

The end of every leader *is to be falling.* *Taliesin.*

**Rhewlyd**, *a.* (rhew) Freezing, or frosty.

**Rhewlydrwydd**, *s. m.* (rhewlyd) Frostiness.

**Rhewydd**, *s. m.* (rhew) Instability, fickleness; wantonness, lust. *a.* Fickle; wanton, lustful.

Gnawd gan rewydd rychwerthin.

The *wanton* is apt to laugh much. *Adage.*

Can rewydd nid pell fydd rhin.

With *wantonness* the secret will not continue long. *Adage.*

Breuddwyd a welwn neithwyr,
Ys celfydd ei dehonglo;
Rhydreithir i rewydd;
Nis gwybydd ar nis gwelo.

A dream I happened to see last night, clever he must be who can explain it; it shall be declared to the *wanton;* it will not be known to such as do not see it. *Meigant.*

**Rhewyddawl**, *a.* (rhewydd) Apt to be wanton.

**Rhewyddiad**, *s. m.* (rhewydd) A wantoning.

**Rhewyddu**, *v. a.* (rhewydd) To satisfy lust.

Rhewyddu, mal anifeiliaid.

*To satisfy lust,* like beasts. *Gr. ab Arthur.*

**Rhewyn**, *s. m. dim.* (rhew) A drain, a gutter.

**Rhewys**, *a.* (rhew) Wanton; lusting. *Caseg rewys,* a proud mare. *Welsh Laws.*

**RHI**, *s. m. r.—pl. t.* au. That is an origin; a source; a sire; a chief.

Gnawd rhiau eu rhadau yn wasgarawg.

Characteristic for *chiefs* that their bounties are spread abroad. *Adage.*

Dwyn fy rhwyf, a dwyn fy rhiydd;
Dwyn fy ner, fy nen cywelthydd!

Take away my prince, and take my *chiefs;* take my sovereign, my supreme supporter! *Deinioel.*

Yr haf——
Gwnai fwyalch hygarfalch gerdd,
Y glyngoed yn llawn glan-gerdd;—
A'r eos ar ir wiail:
Rhion prydyddion dail.

The summer would make the blackbird of lovely emulating note, and woody glade to teem with song; and on the verdant sprays the nightingales, the *chiefs* of minstrels among leaves. *D. ab Gwilym, i'r Haf.*

**Rhïad**, *s. m.* (rhi) An originating; a rendering as a source.

**Rhiadwn**, *s. m.* (rhiad) That is notable or special; that is eminent or supreme.

Rhugl yn ymwrthryn rhyn rhiadwn.

Successfully withstanding the terror of the *supreme sire.* *Aneurin.*

**Rhïaidd**, *a.* (rhi) Relating to a source or sire.

**Rhïal**, *s. f.* (rhi—al) A special or original stock, a primary race or lineage.

Un o dri chyforddwy Ynys Prydain, a ddyweinid gan Caswallawn—drwy for hyd yn nhir Gell Llydaw, a hanoeddynt o rial y Cymmry.

One of the three invading armies of the Isle of Britain, which was conducted by Caswallawn over the sea to the land of the Gauls of Llydaw, was descended from the *primary stock* of the Cymmry. *Trioedd.*

**Rhïallu**, *s. m.—pl. t.* oedd (rhi—gallu) The power of a sovereign, army of a country; also the number of one hundred thousands.

Deg myrdd yn y rhiallu, deg rhiallu yn y fynta, deg mynta yn y gatyrfa.

Ten myriads in the *riallu,* ten times the *rialls* in the mynta, ten times the mynta in the catyrva.

**Rhïan**, *s. f.—pl. t.* edd (rhi) A woman in the prime of life; a dame, a lady.

Tair gwreigedd Arthur, sef oeddynt ei dair prif rian; nid amgen, Gwenhwyfar ferch Gwryd Gwent; a Gwenhwyfar ferch Gwythr fab Greidiawl, a Gwenhwyfar ferch Ogyrfan Gawr.

The three wives of Arthur, who were his three principal *ladies;* namely, Gwenhwyfar daughter of Gwryd Gwent, Gwenhwyfar daughter of Gwythyr ab Greidiol, and Gwenhwyfar daughter of Ogyrfan the Great. *Gr. ab Arthur.*

**Rhianaidd**, *a.* (rhïan) Feminine; lady-like.

**Rhianon**, *s. f.* (rhïan) A paragon of the female sex; a goddess, a mythological person.

Ei phryd a guddiwyd a phridd;
Dygn gofion rianon rodd!

Her countenance has been covered with earth; severe the recollections of the *goddess* given! *Gor. Gyriawg.*

**Rhiant**, *s. m.—pl.* rhïaint (rhi) A parent.

Nac anmharcha yth riaint, na bugeilydd allawr.

Be not irreverent to thy *parents,* nor the pastor of the altar. *Catwg Ddoeth.*

Cas anmharchu rhiaint.

It is hateful to be disrespectful to parents. *Adage.*

**Rhiawd**, *s. m.* (rhi) The being a source or origin; parental state, the state of being eminent or chief.

Sef y caiff y pencenedl ei drwydded yn mraint ei riawd.

The head of a tribe shall have his maintenance under the privilege of his *parentality.* *Trioedd Dyfnwal.*

**Rhïawdr**, *s. m.—pl.* rhïodron (rhïawd) Chieftain.

**Rhïawl**, *a.* (rhi) Belonging to a chieftain.

**Rhib**, *s. m.—pl. t.* ion (rhi—ib) What is thinly laid in a row or streak; a dribblet.

**Rhibiad**, *s. m.* (rhib) A scattering in a scanty row; a streaking; a dribbling.

**Rhibiaw**, *v. a.* (rhib) To place in a scanty row.

**Rhibiawl**, *a.* (rhib) With intermissions; dribbling.

**Rhibib**, *s. f.—pl. t.* au (rhi—pib) A reed pipe.

Un a chrwth——
O'r lle bai arall a'i bib,
A rhyw abwy a rhibib.

One with a fiddle, where another might be with his pipe, and some dirty chap with a *hautboy.* *L. G. Cothi.*

**Rhibin**, *s. m.—pl. t.* iau (rhib) A narrow row, streak, or scanty dribblet.

**Rhibiniad**, *s. m.* (rhibin) A throwing into a narrow row or streak; a dribbling.

**Rhibiniaw**, *v. a.* (rhibin) To lay in a narrow row or streak, to make a dribbling row.

**Rhibiniawl**, *a.* (rhibin) Running in narrow streaks.

**Rhibyn**, *s. m.—pl. t.* au (rhib) A row, as of hay. *Dyfed.* The same as *carfanau* and *rhencau.*

**Rhic**, *s. m.—pl. t.* iau (rhi—ic) A notch, a groove.

**Rhiciad**, *s. m.* (rhic) A notching; a grooving.

**Rhician**, *v. a.* (rhic) To be notching, to groove.

**Rhiciaw**, *v. a.* (rhic) To notch; to groove.

**Rhiciawg**, *a.* (rhic) Having a notch, notched.

**Rhiciawl**, *a.* (rhic) Notching, or grooving.

**Rhiciedig**, *a.* (rhiciad) Being notched, grooved.

**Rhicwr**, *s. m.—pl.* rhicwyr (rhic—gwr) A notcher.

**Rhid**, *s. m.—pl. t.* ion (rhy—id) That is secreted; that oozes, or drains; semen, sperm.

**Rhidiad**, *s. m.* (rhid) A secretion; an oozing; a draining; impregnation; a blissoming.

**Rhidiaw**, *v. a.* (rhid) To secrete; to drain; to impregnate with sperm; to blissom.

Pan fo addoed ar y geifr y bychod a rhidiir.

When the goats have their season the bucks *will be drained.* *Adage.*

**Rhidiawg**, *a.* (rhid) Abounding with secretion; having an oozing or drain; having sperm.

**Rhidiawl**, *a.* (rhid) Secretory; oozing, draining.

**Rhidiedig**, *a.* (rhidiad) Secreted; impregnated.

**Rhidyll**, *s. m.—pl. t.* iau (rhid) A riddle, a sieve.

**Rhidylliad**, *s. m.* (rhidyll) A riddling; a sifting.

**Rhidylliaw**, *v. a.* (rhidyll) To riddle, to sift.

**Rhidys**, *s. m.—pl. t.* au (rhid) A very small stream or rill; a drain.

——Rhyd oesoedd:
Wrth ridysiau meinion
Profodd megys prifafon.

For ages it will run: compared with little *rills* it has proved a primary stream. *Rice Jones.*

**Rhidysiad**, *s. m.* (rhidys) A flowing in a rill.

**Rhidysiaw**, *v. n.* (rhidys) To flow in a very small quantity; to flow as a rill; to dribble.

**Rhidd**, *s. m.—pl. t.* iau (rhi—idd) That is centrical; that is an obstacle; that repels.

**Rhiddiad**, *s. m.* (rhidd) A rendering centrical; a becoming centrical; a repelling.

**Rhiddiaw**, *v. a.* (rhidd) To place centrical; to repel, to drive back; to recoil.

**Rhïedd**, *s. m.* (rhi) Paternal governance.

Duw a'm dug, ym dogn anrhydedd,
I'w wenwlad, i'w rad, i'w riedd.

God will take me, for my complete honour, to his blest kingdom, to his grace, to his *governance*. *Cynddelw.*

**Rhïeddawg**, *a.* (rhïedd) Having high origin.

Eirig ei rethren rieddawg.

Splendid his *commanding* spear. *Taliesin, i Wallawg.*

Braisg rebydd, yn rhydd, yn rhwydd nawd
Y gwna Rhys rieddawg o diawd.

The mighty ravager, freely and with good nature Rhys would make the poor one *noble*. *Cynddelw.*

**Rhïeddawl**, *a.* (rhïedd) A paternal authority.

**Rhïeddu**, *v. a.* (rhïedd) To have authority.

**Rhïeingader**, *s. f.* (rhïan—cader) The seat or throne of a lady or queen.

**Rhïeinged**, *s. f.* (rhïan—ced) A female treasure.

Gwyn ei fyd padyw Duw yd rangwy
Rhieinged.——

Blessed is he on whom God may bestow a *female treasure*. *Gwalchmai.*

**Reieingerdd**, *s. f.—pl. t.* i (rhïan—cerdd) A song or eulogy in praise of the fair sex.

Rhieingerdd Efa a fawrëynt;
Tremyn y treiddwni trefn a gedwynt.

The *female eulogy* on Eva they would extol, with a glance I could observe the order they were used to keep. *Cynddelw.*

**Rhïeingylch**, *s. m.—pl. t.* au (rhïan—cylch) The circuit of the female, by which vassals furnished a table for the queen, in certain cases.

Unwaith yn y flwyddyn y gwedda i bawb fyned yn lluydd i orwlad, gyda'r brenin, os myn; ac yna y frenines a ddyly rieingylch.

Once in the year it is meet for every body to go in the army, to the borders, with the king, if he requires; and then the queen is entitled to a *female circuit*. *Welsh Laws.*

**Rhieiniaidd**, *a.* (rhïan) Feminine.

Rhieiniaidd fun, rhanodd fudd.

*Delicate* maid, she has distributed a bounty. *D. ab Gwilym, i Angharad.*

**Rhieiniawl**, *a.* (rhïan) Feminine, abounding with female softness.

Mae Gwenhwyfar——
Yn rhieiniawl,
Yn rhagorawl
Yn nhrugaredd.

Gwenhwyvar, *of feminine softness*, in mercy doth excel. *Gronw Ddu.*

**Rhieni**, *s. pl. aggr.* (rhïant) Parentage; forefathers, ancestry; parents.

Rhieni dyn yw ei dad, a'i hendad, a'i orhendad.

A person's *ancestry* are his father, and his grandfather, and his great grandfather. *Welsh Laws.*

**Rhienïaeth**, *s. m.* (rhïeni) Parentage, ancestry.

**Rhienïawl**, *a.* (rhieni) Relating to ancestry.

**Rhïes**, *s. f.—pl. t.* au (rhi) A dame, or a lady.

**Rhif**, *s. m.—pl. t.* on (rhi—if) That divides, or separates; a number.

**Rhifadwy**, *a.* (rhif) Capable of being reckoned.

**Rhifaw**, *v. a.* (rhif) To number, to numerate.

Lliw ewynfriw teg rhag ton nawfed,
Nawfed ran ym poen, er pan aned,
Nis rhyborthes neb na thebyced
Ni rifafi ar fun fod yn galed.

That is of the hue of the fair spraying foam before the ninth wave, the ninth share of my pain, since she was born, no one has felt or imagined. I *will* not *reckon* of the damsel that she is cruel. *Cynddelw, i Eva ech Madawg.*

**Rhifawl**, *a.* (rhif) Numeral, or numerical.

**Rhifed**, *s. m.* (rhif) A number, numeration.

Rhifed syr syrthiasant yn ngrau,
O'th gyunygn, o'th gynnefodau.

Of the *number* of the stars they fell in blood, from thy conflict, from thy stratagems. *Gwalchmai.*

**Rhifedi**, *s. m.* (rhifed) A number.

**Rhifedig**, *a.* (rhifed) Numbered. ***Rhifedigion***, those that are numbered.

**Rhifedigaeth**, *s. m.* (rhifedig) Numeration.

**Rhifedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhifed) Numerator.

**Rhifedyddawl**, *a.* (rhifedydd) Numerary.

**Rhifedyddiaeth**, *s. m.* (rhifedydd) The science or skill of numbering.

**Rhifedd**, *s. m.* (rhif) Numerousness; number.

**Rhifgoel**, *s. f.—pl. t.* ion (rhif—coel) The property of chance belonging to numbers.

**Rhifgoelydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhifgoel) Numerist.

**Rhifiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhif) A numbering.

**Rhifiannawl**, *a.* (rhifiant) Numerary.

**Rhifiannu**, *v. a.* (rhifiant) To numerate.

**Rhifiant**, *s. m.* (rhif) Numeration.

**Rhifiawg**, *a.* (rhif) Having a number; numerous.

Cadarn fab Madawg rifiawg reufedd.

The mighty son of Madawg of *multitudinous* wealth. *G. ab D. ab Tudyr.*

**Rhifiedydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhifiad) Numerator.

**Rhifnod**, *s. c.—pl. t.* au (rhif—nod) A numeral.

**Rhifnodawl**, *a.* (rhifnod) Numerical.

**Rhifnodi**, *v. a.* (rhifnod) To numerate.

**Rhifnodiad**, *s. m.* (rhifnod) Numeration.

**Rhifnodydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhifnod) Numerator

**Rhifrill**, *s. f.* (rhif—rhill) A numerical notch.

**Rhifwr**, *s. m.—pl.* rhifwyr (rhif—gwr) One who numbers, a reckoner.

**Rhifydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhif) A numberer.

**Rhifyddeg**, *s. f.* (rhifydd) Science of numbers.

**Rhifyddegawl**, *a.* (rhifyddeg) Arithmetical.

**Rhifyddegwr**, *s. m.—pl.* rhifyddegwyr (rhifyddeg—gwr) An arithmetician.

**Rhifyddes**, *s. f.—pl. t.* au (rhifydd) A female accountant, or arithmetician.

**Rhifyddiaeth**, *s. m.* (rhifydd) Numeration.

**Rhifyn**, *s. m. dim.* (rhif) A single number.

**Rhiff**, *s. m.—pl. t.* iau (rhi—iff) That tends to divide or to separate.

**Rhifft**, *s. m.* (rhiff) That is divided or cleaved.

**Rhiffwnt**, *s. m.* (rhi—ffwnt) The jaundice.

**Rhig**, *s. m.—pl. t.* au (rhi—ig) A notch; a groove, also a pillory.

**Rhigaw**, *v. a.* (rhig) To notch; to indent.

**Rhigawd**, *s. m.—pl.* rhigodau (rhig) A pillory.

**Rhigawl**, *a.* (rhig) Notching; indenting.

**Rhigiad**, *s. m.* (rhig) A notching, a grooving.

**Rhigu**, *s. m. dim.* (rhig) A notch; a groove.

**Rhignedd**, *s. m.* (rhign) A notched or furrowed part; a notch or indenting.

> Cei wrach i grafu dy gefu, a dynai y gïau a'r gwythi gyda phob bys, o gawc dy wegil i rigneidd dy din.
>
> Thou shalt have a hag to scratch thy back, who would draw the muscles and the veins with every finger, from the nape of thy neck to the *partition* of thy buttock. *Araeth Gwgan.*

**Rhigodi**, *v. a.* (rhig) To put in a pillory.
**Rhigol**, *s. m.—pl. t.* ydd (rhig—ol) A grove; a trench, a furrow; a drill; a small ditch, a drain
**Rhigolawg**, *a.* (rhigol) Grooved; furrowed; having a trench or drain.
**Rhigoli**, *v. a.* (rhigol) To groove; to trench.
**Rhigoliad**, *s. m.* (rhigol) A grooving; a trenching
**Rhigolwr**, *s. m.—pl.* rhigolwyr (rhigol—gwr) One who makes a groove or trench.
**Rhigolydd**, *s. m.—pl. t.* ion (rhigol) What makes a groove or trench; a groove-plane.
**Rhigwm**, *s. m.—pl.* rhigymau (rhig) A long rote.
**Rhigymiad**, *s. m.* (rhigwm) A saying by rote.
**Rhigymu**, *v. a.* (rhigwm) To say by rote.
**Rhigymwr**, *s. m.—pl.* rhigymwyr (rhigwm—gwr) One who speaks by rote.
**Rhil**, *s. m.* (rhi—il) An interstice.
**Rhill**, *s. f.—pl. t.* iau (rhi—ill) A row; a small trench or furrow; a drill.
**Rhilliad**, *s. m.—pl. t.* au (rhill) A drilling.
**Rhilliaw**, *v. a.* (rhill) To trench; to drill.
**Rhilliawg**, *a.* (rhill) Trenched; drilled.
**Rhilliedig**, *a.* (rhilliad) Being drilled.
**Rhilliwr**, *s. m.—pl.* rhilliwyr (rhill—gwr) One who trenches; a driller.
**Rhim**, *s. m.—pl. t.* iau (rhi) A rim, or edge.
**Rhimiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhim) An edging.
**Rhimiaw**, *v. a.* (rhim) To edge, or to rim.
**Rhimiawl**, *a.* (rhim) Edging, or rimming.
**Rhimiedig**, *a.* (rhimiad) Being rimmed.
**Rhimp**, *s. m.—pl. t.* iau (rhim) An edge, rim, or boundary; a limit, or ending.
**Rhimpyn**, *s. m.* (rhimp) A close; rhyme.
**Rhimpyniad**, *s. m.* (rhimpyn) A terminating, or ending; a rhyming.
**Rhimpynu**, *v. a.* (rhimpyn) To form an ending, or termination; to rhyme.
**Rhimyn**, *s. m. dim.—pl. t.* au (rhim) A rim.
**Rhimynawl**, *a.* (rhimyn) Being formed to a rim.
**Rhimyniad**, *s. m.* (rhimyn) A forming an edge.
**Rhimynu**, *v. a.* (rhimyn) To make a rim or edge.
**Rhin**, *s. f.—pl. t.* iau (rhi—in) That runs through or pervades; a channel which carries off lesser waters; in draining a name for the secondary dykes, which receive the small ditches, and convey the water to the *gwyth fawr*, or great channel; a farrow between lands. *Powys.* also a pervading quality, a virtue; a secret, a mystery; a charm.

> Gochel ddammegu dy rin.
>
> Beware to allegorize thy *secret*. *Adage.*
>
> Rhin deuddyn cyfrin yw,
> Rhin tridyn cannyn ai clyw.
>
> The *secret* of two persons is a mutual pledge; the *secret* of three persons a hundred persons will hear. *Adage.*
>
> Pob math rin a doethineb
> Sydd arnad yn anad neb.
>
> Every kind of *virtue* and wisdom thou dost possess above any one. *T. Prys.*
>
> Y gair deddf cyntaf sydd yn gwahardd rhiniau, a swynion, a chyfareddion.
>
> The first expression of the law doth forbid *mysteries*, and charms, and incantations. *Elucidarius.*

**Rhinaw**, *v. a.* (rhin) To endue with a hidden quality; to be mysterious; to use spells.

> Gwasgarawd saint am glawdd caer,
> A minnau a rinaf
> Ysgwyd bydd briw cyn techaf.
>
> May the torrents spread about the wall of the fort, and *I will divine* that the shield will be broken ere I recede. *Llywarch Hen.*

**Rhinc**, *s. f.—pl. t.* iau (rhing) A creak; a gnash; a continued sharp noise; also the quail. *Rhinc y tes, rhinc y llin*, the sand-cricket; *glo rhinc*, a sort of hard coal.

> Canu rhinc o'r cenau rhonca.
>
> The tottering whelp muttering his *clack*. *T. Aled.*

**Rhinciad**, *s. m.—pl. t.* au (rhinc) A creaking.
**Rhinciaw**, *v. a.* (rhinc) To creak; to gnash.

> Cenfigen——
> Rhincian y bydd, yn rhonca
> A'i chras-fant, arw-ddant ar dda.
>
> Envy, with her lantern jaw, will be *gnashing* a snaggling tooth on what is good. *Gro. Owain.*

**Rhinciaw**, *v. a.* (rhinc) To creak, to gnash.
**Rhinciawl**, *a.* (rhinc) Creaking; gnashing.
**Rhincyn**, *s. m. dim.* (rhinc) A creak, a clink; a gnash, a grinding noise; a habit of scolding. *Cadw rhincyn*, to keep scolding continually.
**Rhinddysg**, *s. m.* (rhin—dysg) A cabala.
**Rhinddysgiad**, *s. m.* (rhinddysg) A following of cabalistic learning.
**Rhinddysgawd**, *s. m.* (rhinddysg) Cabalistic lore.
**Rhinddysgawdr**, *s. m.—pl.* rhinddysgodron (rhinddysg) A cabalist.
**Rhinfawr**, *a.* (rhin) Endowed with great virtue.

> Cai feddygon——
> Eu galw'n dduwiau, brau bryd
> Wyr rhinfawr, yn yr henfyd.
>
> Physicians had the appellation of gods, open of countenance the *greatly endowed* men, in the ancient world. *L. Morris.*

**Rhiniad**, *s. m.—pl. t.* au (rhin) A pervading; an enduing with some hidden quality or virtue; a using of mystery; a charming.
**Rhiniaw**, *v. a.* (rhin) To pervade; to endue with a quality or virtue; to use mystery, to charm, to talk secrets, to whisper.
**Rhiniawg**, *a.* (rhin) Having some hidden quality, or virtue; possessed of a mystery or secret.
**Rhiniawl**, *a.* (rhin) Relating to a secret quality or virtue; mysterious.
**Rhiniedig**, *a.* (rhiniad) Rendered mysterious.
**Rhiniwr**, *s. m.—pl.* rhinwyr (rhin—gwr) One possessed of some hidden virtue or power; one possessed of a secret; or dealer in spells.

> Maent fal y neidr fyddar, yr hon a gau ei chlustiau, ac ni wrendy ar lais y rhinwyr.
>
> They are like the deaf adder, which shuts her ears, and will not listen to the voice of the *charmers*. *Dr. Davies.*

**Rhinon**, *s. m.* (rhin) A pattern of virtue.
**Rhint**, *s. m.—pl. t.* iau (rhin) A groove, a notch.
**Rhintach**, *a.* (rhint) Grooved; notched; jagged.
**Rhintachrwydd**, *s. m.* (rhintach) Jaggedness.
**Rhinwedd**, *s. f.—pl. t.* au (rhin—gwedd) A virtue; a mystery; a sacrament. *Rhinweddau da*, good qualities: *Saith rinwedd eglwys*, the seven sacraments of the church.

> Os da gwaed mewn oes deg wedd,
> Er hyny gwell yw rhinwedd.
>
> If in the splendid scene of life noble blood is prized, nevertheless *virtue* is more excellent. *Elis Rowland.*

**Rhinweddawg**, *a.* (rhinwedd) Having virtue.
**Rhinweddawl**, *a.* (rhinwedd) Being virtuous.
**Rhinweddiad**, *s. m.* (rhinwedd) A conferring of virtue; a becoming possessed of virtue.
**Rhinweddiaeth**, *s. f.* (rhinwedd) The practice of virtue; virtuous conduct.

**Rhinweddoldeb**, *s. m.* (rhinwedd) Virtuousness.
**Rhinweddolder**, *s. m.* (rhinwedd) Virtuousness.
**Rhinweddoli**, *v. a.* (rhinweddawl) To render virtuous; to become virtuous.
**Rhinweddu**, *v. a.* (rhinwedd) To endue with virtue; to acquire a virtuous habit.
**Rhinweddus**, *a.* (rhinwedd) Virtuous.
**Rhinweddusaw**, *v. a.* (rhinweddus) To render virtuous; to become virtuous.
**Rhinweddusrwydd**, *s.* (rhinwedd) Virtuousness.
**Rhinwraig**, *s. f.—pl.* rhinwreigedd (rhin—gwraig) A woman who performs mysteries or charms.
**Rhing**, *s. m.* (rhi—ing) A creak, or clink.
**Rhingwar**, *s. m.* (rhing—gwar) A clamp.
**Rhingyll**, *s. m.—pl. t.* au (rhing) A citer, an apparitor, a summoner, a sergeant.

Tri enw rhingyll y sydd; gwaedd gwlad, a garw gychwedl was y cyngheliwr, a rhingyll.

The three names of an *apparitor;* the cry of a country, and the chancellor's terrible talebearer, and the *apparitor.* *Welsh Laws.*

Ieuan Fedyddiwr oedd ringyll o flaen yr Iesu.

John the Baptist was a *harbinger* before Jesus. *Elucidarius.*

**Rhingyllaeth**, *s. m.* (rhingyll) Serjeantship.

Gwrthodes rywyr ringyllaeth.

It rejected unseasonable *serjeantship.* *Cynddelw.*

**Rhingylliad**, *s. m.* (rhingyll) A performing the office of an apparitor.
**Rhingyllu**, *v. a.* (rhingyll) To do the duty of a serjeant or an apparitor.
**Rhiolawd**, *s. m.* (rhiawl) Management.
**Rhiolawdr**, *s. m.—pl.* rhiolodron (rhiolawd) A manager, a ruler, or a director.
**Rhioledd**, *s. m.* (rhiawl) Management, or sway.
**Rhioli**, *v. a.* (rhiawl) To manage, to rule.
**Rhion**, *s. m.—pl. t.* ydd (rhi) A sire.
**Rhip**, *s. m.—pl. t.* iau (rhib) That runs with intermission; an overskip.
**Rhipai**, *s. c.* (rhip) A hatchel. See *heislan*.
**Rhipiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhip) An over-skipping
**Rhipiaw**, *v. a.* (rhip) To pass over, to skip.
**Rhipiawg**, *a.* (rhip) Abounding with intermissions or lapses.
**Rhipiawl**, *a.* (rhip) Tending to skip or pass over.
**Rhipiedig**, *a.* (rhipiad) Being over-skipped.
**Rhipiwr**, *s. m.—pl.* rhipwyr (rhip—gwr) One who passes over, or skips.
**Rhis**, *s. m.—pl. t.* iau (rhi—is) That tends to a point; that is broken into points; mince.
**Rhisellt**, *s. f.—pl. t.* i (rhis) A grater, a rasp.
**Rhisg**, *s. m. aggr.* (rhy—isg) Bark, or rind.

Mal y rhisg am y pren.

Like the *bark* about the tree. *Adage.*

**Rhisgaw**, *v. n.* (rhisg) To bark; to strip off bark.
**Rhisgawg**, *a.* (rhisg) Having bark or rind.
**Rhisgawl**, *a.* (rhisg) Belonging to the bark.
**Rhisgedig**, *a.* (rhisg) Barked; stripped of bark.
**Rhisgen**, *s. f.—pl. t.* au (rhisg) A vessel made of bark; a dish, or bowl.

Rhisgen, ffyrling a dal;—Rhisgen ymenyn tair dyrnfedd o led, a thair dyrnfedd o dewedd, heb foel.

A *bark dish*, its value is a farthing;—A *bowl* of butter is three hands in breadth, and three hands in thickness, without a top. *Welsh Laws.*

**Rhisgiad**, *s. m.* (rhisg) A forming of bark; a barking, or a stripping of bark.
**Rhisgl**, *s. m.* (rhisg) Bark, rind, or peel.
**Rhisglad**, *s. m.* (rhisgl) A forming of bark; a stripping of bark, a barking.
**Rhisglaw**, *v. n.* (rhisgl) To form bark; to bark.
**Rhisglawg**, *a.* (rhisgl) Having bark or rind.
**Rhisgledig**, *a.* (rhisgl) Barked; stripped of bark.
**Rhisglen**, *s. f. dim.* (rhisgl) A piece of bark.
**Rhisglyn**, *s. m. dim.* (rhisgl) A piece of bark.
**Rhisgyn**, *s. m. dim.* (rhisg) A piece of bark; a vessel of bark.
**Rhisgynaid**, *s. m.—pl.* rhisgyneidiau (rhisgyn) The quantity contained in a bark bowl. *Rhisgynaid o ymenyn*, a bark bowlful of butter.
**Rhit**, *s. m.* (rhi) A tendency or move forward.
**Rhith**, *s. f.—pl. t.* iau (rhi—ith) That tends to break out or to appear; an outward form, shape, or figure; appearance, guise; embryo.

Blaenu cledd athrawd a rhith gwirionedd.

To point the sword of detraction with the *semblance* of truth. *Adage.*

Yn mhob rhith y daw angeu.

In every *shape* death will come. *Adage.*

Felly, 'mhob rhith felltithiawl
Gwyslo y dyn a gais diawl.

Therefore, in every cursed *shape* the devil doth man entice. *T. Prys.*

**Rhithedd**, *s. m.* (rhith) Apparentness, semblance
**Rhithgwsg**, *s. m.* (rhith—cwsg) Apparent sleep.
**Rhithiad**, *s. m.—pl. t.* au (rhith) An appearing, a seeming; a taking a shape, or form.
**Rhithiadwy**, *a.* (rhithiad) Capable of appearing; capable of taking a shape or form.
**Rhithiannawl**, *a.* (rhithiant) Being apparent.
**Rhithiannu**, *v. a.* (rhithiant) To make an appearance; to take a form; to become apparent.
**Rhithiant**, *s. m.* (rhith) Appearance; semblance.
**Rhithiator**, *ger.* (rhithiad) In appearing.
**Rhithiaw**, *v. a.* (rhith) To tend to break out; to appear; to seem; to be formed or shaped; to become an embryo; to knit, as fruit; to change from one form to another.

Angeu——
Yn mhob cyfrith y rhithi.

Death, in every combination *thou dost appear.* *Ieuan Tew.*

**Rhithiawg**, *a.* (rhith) Having an appearance.
**Rhithiawl**, *a.* (rhith) Appearing, or seeming.
**Rhithiedig**, *a.* (rhithiad) Having appeared.
**Rhithiogaeth**, *s. m.* (rhithiawg) The state or act of appearing; a particular form.

Ail rithiogaeth y rhyw cyntaf o'r droell-ymadrawdd yw gwatwar gerdd.

The second *variety* of the first species of figurative expression is irony. *H. Perri.*

**Rhithiogi**, *v. a.* (rhithiawg) To endue with an appearance; to have an appearance.
**Rhithioli**, *v. a.* (rhithiawl) To make apparent.
**Rhithitor**, *sup.* (rhith) To be appearing.
**Rhithiwr**, *s. m.—pl.* rhithwyr (rhith—gwr) An appearer, a seemer; a dissembler.
**Rhiw**, *s. f.—pl. t.* iau (rhi) A slope, or side of a mountain. It forms the names of many places; as *Rhiwlas*, green slope; *Rhiwfelen*, yellow slope, and the like.
**RHO**, *s. m. r.* That is put or extended from.
**Rhöad**, *s. m.* (rho) A giving, or a bestowing.
**Rhöawl**, *a.* (rho) Giving, or bestowing.
**Rhoc**, *s. m.* (rhy—oc) That shoots out in different ways; a motion in different directions.
**Rhocas**, *s. m.* (rhoc) A stripling, or youth.
**Rhocian**, *v. a.* (rhoc) To be moving in contrary directions; to rock.
**Rhocos**, *s. pl. dim.* (rhoc) Points, or irregularities shooting out; broken particles. *Mae y llaeth wedi suraw, oni weli di o yn rhocos?* the milk is sour, dost thou not see it broken?
**Rhoch**, *s. f.* (rhy—och) A broken or rough utterance; a grunt, a groan.

**Ufydd**, *a.* (uf—ydd) Humble, obedient, meek.

Dy ddelw wyl, lle'r wyf rydd
D'eaws wyf, dy was ufydd.

Thy bashful image, where I am at liberty thy nightingale I am, and thy *obedient* servant. *L. G. Cothi.*

**Ufyddâad**, *s. m.* (ufyddâu) An obeying; a becoming humble, humiliation; obedience.
**Ufyddâawl**, *a.* (ufyddâu) Of obedient disposition
**Ufyddaidd**, *a.* (ufydd) Tending to humility.
**Ufyddâu**, *v. a.* (ufydd) To obey; to be humble.

Yn y faint hono y gorddyfnasam ni ei chaffael a'i meddu, hyd na wddiam ni ufyddâu i gaethiwed; a hono hagen pei celynt y duwiau ei dwyn i cenym, ni a lafuriem yn y faint y gallem oc yn holl nerth o'i hattal yn eu herbyn.

In such a degree we were accustomed to obtain and enjoy it, so that we know not how *to be humbled* to servitude; and this, peradventure were the Gods to attempt to deprive us of it, we would exert ourselves to the utmost of all our power to preserve against them. *Brut y Breninoedd.*

**Ufyddaw**, *v. a.* (ufydd) To obey; to humble.
**Ufyddawl**, *a.* (ufydd) Obedient, or humble.
**Ufyddâwr**, *s. m.—pl.* ufyddâwyr (ufyddâu—gwr) One who obeys.
**Ufydd-dawd**, *s. m.* (ufydd) Humility, obedience.
**Ufydd-dra**, *s. m.* (ufydd) Humbleness, obedience
**Ufyddfryd**, *s. m.* (ufydd—bryd) Humble mind. *a.* Of an obsequious disposition.
**Ufyddgar**, *a.* (ufydd) Obsequious; dutiful.
**Ufyddgarwch**, *s. m.* (ufyddgar) Obsequiousness.
**Ufyddiad**, *s. m.* (ufydd) A humbling; an obeying
**Ufyddiannawl**, *a.* (ufyddiant) Of a humbling tendency; tending to obedience.
**Ufyddiannu**, *v. a.* (ufyddiant) To be obedient.
**Ufyddiannus**, *a.* (ufyddiant) Of a humiliating tendency; disposed to obedience.
**Ufyddiannusaw**, *v. a.* (ufyddiannus) To render obedient; to become obedient.
**Ufyddiant**, *s. m.* (ufydd) Obedience; humility.
**Ufyddoldeb**, *s. m.* (ufyddawl) Humbleness.
**Ufyddolder**, *s. m.* (ufyddawl) Humbleness.
**Ufyddolrwydd**, *s. m.* (ufyddawl) Humbleness.
**Ufyddwr**, *s. m.* (ufydd—gwr) An obedient man.
**Ufyll**, *a.* (uf—yll) Obsequions, or humble.
**Ufylldawd**, *s. m.* (ufyll) Obsequiousness.
**Ufyllder**, *s. m.* (ufyll) Humility; meekness.

Rhag hirddilyd prid, praw ufyllder bryd,
Rhi y byd a'm dyd dysg a challder.

Against over-pursuing of an object, the experience of an *humility* of mind, the lord of the world will give me instruction and discretion. *G. ab M. ab Dafydd.*

**UFF**, *s. m. r.* That straitens, closes, or confines.
**Uffarn**, *s. f.—pl. t.* au (uff—arn) The ankle; also called *ucharn*, *ffer*, and *migwrn*.

Y rhingyll a ddyly goesau yr ychain ac y gwartheg, a gaffer o'i gyhudd ef, i wneuthur cwranau cyfawch a'i uffernau.

The serjeant ought to have the legs of the oxen and the cows, which shall be obtained through his informing, for making buskins reaching up to his *ankles*. *Welsh Laws.*

**Uffern**, *s. f.—pl. t.* i (uff—ern) A strait or confined drift; the state of reprobation in the bardic doctrine of transmigration; the infernal region, hell.

Nid oes ar uffern ond eisiau ei threfnu.

There is in *hell* only the want of being put in order. *Adage.*

Hunanoldeb yw y diawl duaf yn uffern.

Selfishness is the blackest devil in *hell*. *Adage.*

Y diawl ffolaf yn uffern yw hunandyb.

The simplest devil in *hell* is self-conceit. *Adage.*

Yr aderyn a facer yn uffern yn uffern y myn drigaw.

The bird that is reared in *hell*, in *hell* he will seek to dwell. *Adage.*

**Uffernaidd**, *a.* (uffern) Like hell, or hellish.

**Uffernawl**, *a.* (uffern) Infernal, or hellish.

I ti y mae caniad i gerdded trwy awyrawl ffyrdd, ac uffernolion dai, a threiglaw datarolion dillaid: Dywed i mi pa ddaiar a fyn ych ei phreswyliaw ohonaf.

For thee there is liberty to traverse through aërial paths, and *infernal* mansions, and to assign the destiny of terrestrial beings: inform me what region thou wouldest have me to dwell therein. *Brut y Breninoedd.*

**Ufferngi**, *s. m.* (uffern—ci) A hell-hound.
**UG**, *s. m. r.* That is over or exterior; that closes upon or envelops.
**Ugain**, *s. m.—pl.* ugeiniau (ug) That has a completion, or close; the close of reckoning; twenty. *a.* Twenty.
**Ugaint**, *s. m.—pl.* ugeinniau (ugain) Twenty.

Ugaint, teg; deg-ar-ugaint, cryf; deugaint, goludawg; deg-a-deugaint, doeth; a thros eu hoedranau, nid gwiw son am y naill na'r llall.

*Twenty*, fair; thirty, strong; forty, bustling about wealth; fifty, wise; and as to those in the extremes of their ages, it is not worth while to make mention of the one or the other. *Adage.*

**Ugeinfed**, *s. f.* (ugain) The twentieth.
**Ugeiniawl**, *a.* (ugain) Belonging to twenty.
**Ugeinplyg**, *s. m.* (ugain—plyg) That is twenty-fold. *a.* Twenty-fold.
**Ugeintro**, *s. m.* (ugain—tro) That consists of twenty turns. *a.* Of twenty turns.
**Ugeintroed**, *s. m.* (ugain—troed) That has twenty feet. *a.* Of twenty feet.
**Ugeinwaith**, *s. pl.* (ugain—gwaith) Twenty times.
**UL**, *s. m. r.* That is humid, or damp. *a.* Humid, damp, or muggy. *Mae yn ul iawn heddyw*, it is very muggy to-day: *Mae yr ud yn rhy ul iddei falu*, the corn is too damp to be ground: *Mae y gwair yn rhy ul iddei gywain*, the hay is too moist to be carried off. *Sil.*
**Ulai**, *s. c.* (ul) That generates humidity or moisture; hydrogen.
**Ulaw**, *v. a.* (ul) To render moist or humid; to smother; to become close, damp, or muggy; to heat by closeness, to generate hydrogen.
**Uliad**, *s. m.* (ul) A filling with humidity; a smothering; a growing close, or muggy; a heating by laying close together; a producing hydrogen.
**Uliar**, *s. m.* (ul) A humid nature; a phlegmatic habit.

Un a fo a'i ardymyr o'r uliar a fydd wineu, o herwydd nad yw ei natyr ond egwan; yn yr ail cyfarwel hwy a fydd fyrion a thewion y bobl a font o'r uliar—a hwy a fyddant diffrwythach no phobl o'r cyfnawydau ereill, o herwydd eu hoerfel

One whose constitution is of the *phlegmatic habit* is apt to be of brown complexion, because their nature is but feeble: in a second respect they who are of a *phlegmatic habit* will be short and fat; and they will be less energetic than people of other dispositions, because of their cold nature. *Meddygon Myddfai.*

**Ulw**, *s. m.* (ul) That is divested of the principle of moisture; the remains of any thing burnt; ashes; cinders. *Mae fo wedi llosgi yn ulw*, it is become burnt to cinders.
**Ulwaidd**, *a.* (ulw) Like smothered hot ashes.
**Ulwawg**, *a.* (ulw) With remains of combustion.
**Ulwyn**, *s. m.* (ulw) The scoria or remains of any burnt matter; ashes, embers, or cinders.
**ULL**, *s. m. r.* That bursteth out; that is sudden, or abrupt.
**Ullda**, *s. m.* (ull—ta) That has sudden starts; an oaf; a dolt.
**Ulldach**, *s. m.* (ull—tach) An oaf, a changeling.
**Ulliad**, *s. m.* (ull) A bursting out; a sudden drive or impulse.
**UM**, *s. m. r.* That spreads out or about.
**UN**, *s. m. r.—pl. t.* au. That is individual, that is identified as one; one. *Yr un un*, the same one, the very same, *idem*, *eadem*. It is a prefix in composition.

Cared pob un ei gynhenfref.

Let every *one* love his native place. *Adage.*

Tri un cyntefig y sydd; ac nis gellir amgen nog un o honynt: un Duw, un gwirionedd, ac un pwnc rhyddyd, sef y bydd lle bo cydbwys pob gwrth.

There are three primitial *ones*; and nothing otherwise than one of them can possibly be: *one* God, *one* truth, and *one* point of liberty; that is where every opposition equiponderates. *Barddas.*

Gwell mared gwr nog un gwraig.

Better is the activity of a man than *that* of a woman. *Adage.*

**Un**, *a.* (un, *s.*) One; identical, of the same, same. *Nid yw fal yr un un*, he is not like the same one.

Un gadernyd, un fryd fry,
Un fraint, un feddiant, un frys,
Un allu, un ewyllys—Un Duw.

*Of one* energy, *of one* mind above, *of one* pre-eminence, *of one* possession, *of one* impulse, *of one* power, *of one* will: *one* God. *Iolo Goch.*

Yn awr ydych un radoedd
A'ch hael dad.——

At present you are of the *same* attributes as your generous grandsire. *S. Cain.*

**Unad**, *s. m.* (un) A making into one; union.

**Unagwedd**, *s. m.* (agwedd) One appearance. *a.* Of similar appearance.

**Unarbymtheg**, *s. m.* (un—ar—pymtheg) Sixteen. *a.* Sixteen.

**Unarddeg**, *s. m.* (un—ar—deg) Eleven. *a.* Eleven

**Unaw**, *v. a.* (un) To make into one; to unite; to accord, to agree.

**Unawdl**, *s. f.* (awdl) A single rhyme. *a.* Unirhyme.

**Unawl**, *a.* (un) Belonging to one; uniting.

**Unawr**, *s. f.* (awr) A single hour. *a.* Of one hour.

**Unbaladr**, *a.* (paladr) Of one shaft; of one or the same verse.

**Unbaladrawg**, *a.* (unbaladr) Of one shaft; of one or the same verse.

**Unban**, *s. m.* (ban) Being of one verse or line.

**Unbanawg**, *a.* (unban) Having one verse.

**Unben**, *s. m.—pl.* unbyn (pen) A one head, a one supreme, a monarch; also a complimentary appellation, like sir.

Tri unben rhaith Ynys Prydain: un, Caswallawn ab Lludd ab Beli ab Mynogan; ail, Caradawg ab Brân ab Llyr Llediaith; trydydd, Owain ab Macsen wledig: sef o raith gwlad a chenedl y doded arnynt yr unbenaeth, lle nad oeddynt hynafiaid.

The three jury *monarchs* of the Isle of Britain: the first, Caswallon son of Lludd son of Beli son of Mynogan; second, Caradog son of Bran son of Llyr of Barbarous speech; third, Owain son of Maxen the patriot; that is to say, through the juratory election of the country and nation was the monarchy given them, when they were not elders. *Trioedd.*

Tri tharw unben Ynys Prydain: Elmur mab Cadair, Cynhafal mab Argad, Afaon mab Taliesin: Tri meib beirdd oeddynt.

The three bull *chieftains* of the Isle of Britain: Elmur son of Cadair, Cynhaval son of Argad, Avaon son of Taliesin; They were three sons of bards. *Trioedd.*

Ha unben! Duw a'ch noddo; ni ddaeth gwestai erioed o honai a'i fywyd gantho.

Oh sir! God protect you; there never escaped a guest from me with his life. *H. Culhwch—Mabinogion.*

**Unbenaeth**, *s. m.—pl. t.* au (unben) Sovereignty. *Unbenaeth Prydain*, the sovereignty of Britain; the name of a national hymn, now lost, which used to be sung before the armies, on the onset of battle. Probably, this was some piece of music, to which different words were adapted, agreeably to the incidents of the times; but all tending to impress an idea, consonant to the title of the piece, that the welfare of the British Monarchy was the object contended for: thus all the different chiefs of the island, in their quarrels, were impelled by a national maxim, ostensibly to be supporting the supreme government.

Y bardd teulu a geiff eidion o bob anrhaith y bo wrth ei dwyn gyda'r teulu; a rhan gwr hefyd, mal pob teuluwr arall; yntau a gan Unbenaeth Prydain rhagddynt, yn nydd cad ac ymladd.

The bard of the household shall have a beast out of every spoil he bears a part in taking with the family; and the share of a man besides, like every other individual of the family; and he then shall sing the *Monarchy of Britain* before them, in the day of battle and war. *Welsh Laws.*

**Unbenaethawl**, *a.* (unbenaeth) Monarchical.

**Unbenaethiad**, *s. m.* (unbenaeth) A forming a monarchy or sovereignty.

**Unbenaethu**, *v. a.* (unbenaeth) To establish a monarchy or sovereignty.

**Unbenaidd**, *a.* (unben) Monarchal; royal.

Bonedd hon unbenaidd had.

Her descent of *royal* progeny. *Meurig Dafydd.*

**Unbenawl**, *a.* (unben) Monarchal; royal.

**Unbenes**, *s. f.—pl. t.* au (unben) A female monarch; also a title of respect, equivalent to lady and madam.

Arglwydd, ni thycia i neb ymlid yr unbenes rhaco; ni wyddwn i farch cynt yn y cyfoeth no hwn; ac ni thycia i mi ei hymlid!

Lord, it will avail nobody to pursue yonder *lady*: I knew of no swifter horse in the kingdom than this; and it doth not avail me to pursue her! *H. Pwyll—Mabinogion.*

**Unbenesaidd**, *a.* (unbenes) Appertaining to a female monarch; like a queen; royal.

Gwrth y rhod trwod y traidd,
Ynysig unbenesaidd.

The reverse of the wheel through thee will run, thou little isle *seeming like a queen.* *Gro. Owain, i Fon.*

**Unbeniad**, *s. m.—pl.* unbeniaid (unben) That is one head, a monarch; a sovereign.

Tri glewion unbeniaid Ynys Prydain; Cynfelyn Wledig, Caradawg ab Brân, ac Arthur: sef y gorthrechaint eu galon, hyd nas gellid namyn o frad a chynllwyn eu gorfod.

The three brave *sovereigns* of the Isle of Britain: Cyvelyn the Patriot, Caradog son of Bran, and Arthur; that is to say, they would obtain success over their enemies, so that it were not possible except by treachery to overcome them. *Trioedd.*

**Unbenig**, *a.* (unben) Monarchical, monarchal.

**Unbenigder**, *s. m.* (unbenig) Monarchicalness.

**Unbenigdra**, *s. m.* (unbenig) Monarchicalness.

**Unbenigrwydd**, *s. m.* (unbenig) Monarchicalness.

**Unbriodas**, *s. f.* (un—priodas) Monogamy.

**Uncorn**, *s. m.—pl.* uncyrn (corn) That has one horn; an unicorn.

Mi cadw——
Rhag cyrn yr uncyrn encyd.

Me preserve awhile from the horns of the *unicorns.* *W. Middleton.*

**Undad**, *s. m.* (tad) A same father. *a.* Of the same father.

**Undanc**, *a.* (tanc) Being united in tranquillity.

**Undawd**, *s. m.* (un) A state of being one.

Boed ef y byddwyf, gwedi beddrawd,
Cyd a'r Undaw mawr yn ei undawd.

Be it that I may exist, after the course of the grave, with the great one God in his *unity.* *Einion ab Gwalchmai.*

**Undeb**, *s. m.* (un) Unity. *Undeb a brawdgarwch*, unity and brotherly love.

**Undeg**, *s. m.* (deg) Eleven. *a.* Eleven.

**Undegawl**, *a.* (undeg) Belonging to eleven.

**Undegfed**, *s. m.* (undeg) An eleventh. *a.* Eleventh

Undeg fad awen: undegfed awydd
A wefnydd fy nhynged,
O'm gwawd rhan, o'm baeth, o'm barddged,
O walch falch, o Weilchiawn giwed.

Eleven goodly themes; the *eleventh* wish my destiny will produce, with respect to my share of praise, of my elevation, of my bardic treasure, from a towering battlement, from the Gwalchian tribe. *Cynddelw, Gwelygorddau Powys.*

**Under**, *s. m.* (un) Unity, simpleness, singleness.

Gorwech, o ran bonedd, yw y peth a saif ar under hanfod ac ansawdd, ar bob cymhleth hanfod ac ansawdd.

Superior, with respect to origin, is the thing which stands upon *simpleness* of existence and quality, over every complex existence and quality. *Barddas.*

**Undodiad**, *s. m.*—*pl.* undodiaid (undawd) Unitarian.
**Undodiaeth**, *s. m.* (undawd) Unitarianism.
**Undon**, *s. f.* (ton) That is of one tone or voice. *a.* Monotonous.
**Undonydd**, *s. m.* (undon) A monotonous one.
**Undonyddiaeth**, *s. f.* (undonydd) Monotony.
**Undras**, *s. f.* (tras) That is of the same kindred. *a.* Of the same kindred.
**Undrwch**, *a.* (trwch) Of eqnal thickness.
**Undud**, *s. m.* (tud) Sameness of region. *a.* Of the same region.

> Gogoniant——
> I'r Drindawd Undawd undud preswylydd.
>
> Glory to the Trinity of Unity the inhabitant of the *same region*.
> *D. Ddu o Hiraddug.*

**Undull**, *s. m.* (dull) Same form or manner. *a.* Of the same form.
**Unduw**, *s. m.* (duw) The same or one God.
**Undwf**, *s. m.* (twf) That is of one growth. *a.* Of the same growth.
**Undydd**, *s. m.* (dydd) One day; same day. *a.* Of one day. *Undydd a blwyddyn*, a year and a day.
**Undyddiawg**, *a.* (undydd) Of a single day.

> Ni ddyly neb gymeryd mach yn undyddiawg.
>
> No body ought to take bail as *of one day*. *Welsh Laws.*

**Undyn**, *s. m.* (dyn) A single person.

> Gwae undyn a wnel gant yn drist.
>
> Woe to the *one person* who makes a hundred sorrowful. *Adage.*
>
> O caf fy nghledd ar fy nghlun,
> A'm llaw ddeau i'm diffyn,
> Ai gwaeth finnau nog undyn?
>
> If I obtain my sword by my side, and my right hand to defend me, am I then more despicable than *any person!*
> *Ymdd. Trystan a Gwalchmai.*

**Unddalen**, *s. f.* (dalen) One leaf; one page; same leaf. *a.* Of one leaf; of the same leaf.
**Unddalenawg**, *a.* (unddalen) Monopetalous.
**Unddawn**, *s. m.* (dawn) Sameness of attribute. *a.* Of one attribute; of the same endowment.

> ——Uch archengylion,
> Unddonion neifion nerth heb dreugi—
> Unduw ynt wyntau a diau dri.
>
> Over archangels, lords *of attributes—coequal ones* with power never failing, one God are they and truly three. *Gwalchmai.*

**Unddefnydd**, *s. m.* (defnydd) That is of the same material. *a.* Homogenial.
**Unddull**, *s. f.* (dull) Unity of form. *a.* Uniform.
**Uned**, *s. m.* (un) Unity; accordance, concurrence; entreaty, solicitation.

> Archaf i Dduw drwy uned.
>
> I will ask of God through *entreaty*. *Llywelyn Fardd.*

**Unesgar**, *s. m.* (esgar) Sameness of foe. *a.* Having the same enemy, of common foe.

> Cymmodi a wnaynt, a myned ungar unesgar.
>
> They were reconciled, and became of common friend *of common foe*. *Gr. ab Arthur.*

**Unfaint**, *s. m.* (maint) Unity of size. *a.* Of the same size, of equal magnitude.
**Unfan**, *s. m.* (màn) The same place. *Safa yn ei unfan yn wastad*, he stands in his one place continually.
**Unfath**, *s. m.* (math) Unity of sort. *a.* Of the same sort, similar.
**Unfed**, *s. m.* (un) The order of one; a first. *a.* Being in the order of one; first.
**Unfed-dydd**, *s. m.* (unfed—dydd) The first day.
**Unfin**, *s. m.* (min) A one edge. *a.* One-edged.
**Unfiniawg**, *a.* (unfin) Having one edge.
**Unfodd**, *s. m.* (modd) Sameness of mode. *a.* Of the same manner; similar.
**Unfraint**, *s. m.* (braint) Sameness of rank, right, or privilege. *a.* Of the same rank.

> O bydd amryson rhwng deuddyn unfraint am derfyn, ac na wyper gwirionedd y rhyngddynt, tynged pob un ei derfyn; a gwedi hyny rhaner y tir amryson.
>
> If there shall be contention between two persons *of equal rank* respecting a boundary, and the truth be not manifest between them, let each one swear his boundary; and after that let the land of contention be divided. *Welsh Laws.*

**Unfri**, *s. m.* (bri) Sameness of privilege. *a.* Of equal privilege.
**Unfryd**, *s. m.* (bryd) One mind, sameness of intention. *a.* Of one mind, unanimous.

> Nid unfryd ynfyd a chall.
>
> Not *of the same mind* the simple and the cunning. *Adage.*
>
> Nid unfryd cybydd a chorodyn.
>
> Not *of the same mind* the miser and the liberal. *Adage.*

**Unffunud**, *s. f.* (ffunud) Sameness of appearance. *a.* Of the same appearance; exactly alike.
**Unffurf**, *s. m.* (ffurf) Sameness of form. *a.* Of the same form; uniform.
**Ungar**, *s. m.* (car) Sameness of friend. *a.* Of common friend.
**Unged**, *s. f.* (ced) Sameness of treasnre. *a.* Of one treasure, having one treasure in common.
**Ungoel**, *s. f.* (coel) Sameness of belief. *a.* Of one belief, of the same creed.

> Deon, unged, ungoel,
> Ys berth, yd borthir yn wyl.
>
> The supreme arbiter, of universal bounty, *of universal belief*, that is holy, he is served with humility. *Cynddelw.*

**Ungor**, *s. f.* (cor) That is of one turn or twist. *a.* Of a single turn or twist. *Edaf ungor*, a single twisted thread.

> Cadarnach yw yr edaf yn gyfrodedd nog yn ungor.
>
> Stronger is the thread of double twist than *of single twist*. *Adage.*

**Ungorn**, *s. f.* (corn) That is of one turn. *a.* Of a single turn. *Edaf ungorn*, the same as *edaf ungor*.
**Ungwaith**, *s. m.* (un—gwaith) A particular turn, or purpose. The same as *unswydd*.

> Ungwaith merched y gwledydd
> Ei edrych fo fal drych fydd.
>
> The *sole work* of the girls of the countries round will be to gaze at it as at a mirror. *I. ab Hywel Swrdwal.*

**Ungwr**, *s. m.* (gwr) One man; any man.
**Ungyfun**, *a.* (cyfun) Uniformly the same.

> Tri banogion pob byw yn nghylch y gwynfyd; swydd, braint, ac awen; ac nis gellir dau yn bod yn ungyfun yn mhob peth; gàn y bydd cyflawn pob un yn y bo bànawg arno; ac nid oes cyflawn ar ddim, heb y maint oll a ddichon fod o hano.
>
> The three peculiar distinctions of every living being in the circle of felicity; vocation, privilege, and disposition; and it is not possible for two beings to be *uniformly the same* in every thing; for every one will have a plenitude of what is essentially peculiar in him; and there is no plenitude of any thing, without having it in a degree that comprehends the whole of it that can exist. *Barddas.*

**Unhaen**, *s. f.* (haen) A single layer, or spread. *a.* Of one spread or stratum.
**Unhawl**, *s. f.* (hawl) A sole claim. *a.* Of single claim, of common claim.
**Unhwyl**, *s. f.* (hwyl) A sole course. *a.* Of one course, of a common course.
**Unhyd**, *s. m.* (un—hyd) A single length. *a.* Of one length; of the same length, or duration.
**Uniad**, *s. m.* (un) A making one; a uniting.
**Uniaith**, *s. f.* (iaith) A single speech. *a.* Of one language, of a common speech.
**Uniannawl**, *a.* (uniant) Tending to unite.
**Uniannu**, *v. a.* (uniant) To produce union.
**Uniant**, *s. m.* (un) The state of being one.

**Uniawn**, *s. m.* (iawn) That is right, straight, or direct. *a.* Right, straight, direct; upright, perfect, just. *Rhed yno yn uniawn*, run there directly: *Mi af yn uniawn deg*, I will go immediately.

Lluniwr pob deall uniawn,
A llyfr cyfraith yr iaith iawn.

The former of every *just* idea, the law book of the perfect language. *Gr. Gryg, i D. ab Gwilym.*

A fo'n enwog fyw'n uniawn,
Fe rydd Duw fawredd a dawn.

He who nobly leads a *righteous* life, God will give him greatness and virtue. *S. Tudyr.*

**Unig**, *a.* (un) Sole, only, lonely, lonesome, single, solitary, singular. *O yr unig!* How singular!

Digawn Duw da i unig.

God is able to help the *solitary*. *Adage.*

Hydr anaw unig.

Confident is the song of the *solitary*. *Adage.*

**Uniganedig**, *a.* (unig—ganedig) Only-begotten.

**Unigaw**, *v. a.* (unig) To render sole; to become sole, single, or solitary.

**Unigawl**, *a.* (unig) Of a solitary or singular quality; ununited, independent. *Y naw unigolion*, the nine digits.

**Unigder**, *s. m.* (unig) Solitariness, loneliness.

**Unigdra**, *s. m.* (unig) Solitariness, loneness.

**Unigedd**, *s. m.* (unig) Solitude, or loneliness.

**Unigenid**, *a.* (unig—genid) Only-born.

**Unigffydd**, *a.* (unig—ffydd) Of singular faith.

**Unigffyddiad**, *s. m.*—*pl.* unigffyddiaid (unigffydd) A solifidian.

**Unigiad**, *s. m.* (unig) A rendering solitary.

**Unigoldeb**, *s. m.* (unigawl) Singularness.

**Unigolder**, *s. m.* (unigawl) Singularness.

**Unigoli**, *v. a.* (unigawl) To render solitary or singular; to become singular.

**Unigolrwydd**, *s. m.* (unigawl) Solitariness.

**Unigrwydd**, *s. m.* (unig) Loneliness, solitariness.

**Unionad**, *s. m.* (uniawn) A straightening, a righting, a making even, a rectifying.

**Uniondeb**, *s. m.* (uniawn) Rightness, rectitude, uprightness; straightness; evenness.

**Unionder**, *s. m.* (uniawn) Rightness; straightness.

**Uniondra**, *s. m.* (uniawn) Rightness; directness.

**Unionedd**, *s. m.* (uniawn) Rightness; directness.

**Uniongongl**, *s. f.*—*pl. t.* au (uniawn—congl) A right angle.

**Uniongonglawg**, *a.* (uniongongl) Rectangular.

**Uniongred**, *s. f.* (uniawn—cred) Orthodoxy. *a.* Of right belief, orthodox.

**Uniongyrch**, *s. m.* (uniawn—cyrch) A direct course. *a.* Of a direct course; immediate.

Yr ysbryd a henyw o Dad yr ysbrydoedd; yr hwn a elwir felly, mae yn debygawl, o herwydd eu henyw hwynt o hono ef yn uniongyrch, heb fod ailachosion yn cydgerdded, nac yn cyfryngu dim oll.

The spirit proceeded from the Father of spirits; who is so called, it is probable, because of their proceeding from him *immediately* without second causes being concurring, or contributing any thing at all. *Ior. Owain.*

**Uniongyrchawl**, *a.* (uniongyrch) Directly proceeding.

**Uniongyrchiad**, *s. m.* (uniongyrch) A directly or immediately proceeding.

**Uniongyrchu**, *v. a.* (uniongyrch) To proceed directly; to proceed straightly.

**Unioni**, *v. a.* (uniawn) To straighten, to rectify; to make even; to become straight.

**Unionran**, *s. f.* (uniawn—rhan) An exact portion.

**Unionraniad**, *s. m.* (unionran) A sharing exactly.

**Unionranu**, *v. a.* (unionran) To share exactly.

**Unionred**, *s. f.* (uniawn—rhed) A direct course. *a.* Directly recurrent.

**Unionrwydd**, *s. m.* (uniawn) Straightness.

**Unionserth**, *a.* (uniawn—serth) Straightly falling.

**Unionserthawl**, *a.* (unionserth) Of a perpendicular fall or dip.

**Unionserthiad**, *s. m.* (unionserth) A dipping or falling perpendicularly.

**Unionserthu**, *v. a.* (unionserth) To dip or fall perpendicularly.

**Unionsyth**, *a.* (uniawn—syth) Directly erect.

**Unionsythawl**, *a.* (unionsyth) Tending to a perpendicular erectness.

**Unionsythiad**, *s. m.* (unionsyth) A rendering perpendicularly erect.

**Unionsythu**, *v. a.* (unionsyth) To render perfectly erect or upright.

**Unionwr**, *s. m.* (uniawn—gwr) A straightener.

**Unionydd**, *s. m.*—*pl. t.* ion (uniawn) Straightener.

**Unlef**, *s. f.* (llef) Sameness of tone. *a.* Of one tone, of the same sound; monotonous.

Awdl yw sain unlef y geiriau gobenyddiawl.

Rhyme is the *unison* sound of the terminating words. *Barddas.*

**Unllaw**, *s. f.* (llaw) One hand. *a.* One-handed, single-handed.

Bwrw a'th unllaw, cais a'th ddwylaw.

Cast with thy *one hand*, get with thy two hands. *Adage.*

**Unllawiawg**, *a.* (unllaw) Having one hand.

Unllawiawg fydd mammaeth.

A nurse is *single-handed*. *Adage.*

**Unlle**, *s. m.* (lle) One place, same place; any place, any where. *Ni bum yn unlle*, I have not been any where.

**Unlled**, *s. m.* (lled) One breadth. *a.* Of one breadth, of equal breadth.

**Unllef**, *s. m.* (llef) Sameness of tone or voice. *a.* Of the same voice, unison.

**Unlliw**, *s. m.* (lliw) Sameness of colour. *a.* Of one colour.

Adar o'r unlliw a dynant i'r unlle.

Birds of *a colour* will flock together. *Adage.*

**Unlliwiawg**, *a.* (unlliw) Having one colour.

**Unllygad**, *s. m.* (llygad) One eye. *a.* One-eyed.

**Unllygeidiawg**, *a.* (unllygad) Monoculous.

Unllygeidiawg a ddyly cant.

The *one-eyed* ought to have a hundred. *Adage.*

Unllygeidiawg fydd brenin yn ngwlad y deillaid.

The *one-eyed* will be a king in the country of the blind ones. *Adage.*

**Unman**, *s. f.* (man) Same place, sameness of place; any where. *a.* Of the same place.

Gwir tros byth yn yr unman.

The truth for ever in the *same place*. *Adage.*

Nid llai y crefydd yn unman no lle bo mwyaf y dadlu am dano.

Not less the religion *any where* than in the place where there is most disputing about it. *Adage.*

**Unmodd**, *s. m.* (modd) Sameness of mode; any wise. *a.* Of the same mode.

**Unnawd**, *s. m.* (nawd) Sameness of nature. *a.* of the same nature or quality.

**Unnaws**, *s. f.* (naws) Sameness of disposition or temper. *a.* Of the same temper.

**Unne**, *s. m.* (un—gne) That is one colour. *a.* Of one hue, of the same hue. *Unne geirw*, equal in hue to the torrents.

**Unnerth**, *s. m.* (nerth) Sameness of power. *a.* Of one power, of equal might.

Trindawd yn gwarawd a'n gwarant,
Tri uniawn unnerth gogoniant:
Trwy y Tad, a Rhad yn rheiddiant,
Trwy y Mab gwnaed bawb bob grymiant.

The Trinity our deliverance and our security, three perfect of *coequal power* in glory; through the Father, with Grace concomitant, through the Son, all were made of every energy. *Cynddelw.*

**Unodliaeth**, *s. f.* (unawdl) Sameness of rhyme.

Ni ddylai gydsain fod yn nechreu y sill olaf o air yr awdl yn amgen a fo yn yr unodlaeth.

The consonant ought not to be in the beginning of the last syllable of the word of the rhyme different from what may be in the *unity of rhyme*. *Barddas.*

**Unodlawg**, *a.* (unawdl) Having unity of rhyme.

**Unodledd**, *s. m.* (unawdl) The state of being of continued rhyme; unirhyme.

**Unodli**, *v. a.* (unawdl) To agree in rhyme.

Nid unodla sillaf daigron ond ag un daigron arall o'r un bwys a hi.

An inflective syllable *will agree in rhyme* only with another inflective syllable of the same accent with itself. *W. Middleton.*

**Unodliad**, *s. m.* (unawdl) A forming unirhyme.

**Unoed**, *s. m.* (un—oed) One age, same age, sameness of age. *a.* Of one age, of equal age; of the same time.

Fym pedwar prif-gas erymoed,
Ymgyfarfyddynt yn unoed:
Pas a henaint, haint a hoed.

My four principal foes through life, they have met together in *unity of time*: cough and old age, disease and grief. *Llywarch Hen.*

**Unoes**, *s. f.* (un—oes) One life; same age, sameness of age. *a.* Of one age; cotemporary.

**Unoldeb**, *s. m.* (unawl) Unity; identicalness.

**Unolder**, *s. m.* (unawl) Identicalness, sameness.

**Unoldra**, *s. m.* (unawl) Sameness, similarity.

**Unoli**, *v. a.* (unawl) To render united, to accord; to become the same; to identify.

**Unoliad**, *s. m.* (unawl) Unition; accordance.

**Unoliaeth**, *s. m.* (unawl) The state of being the same or identified; accordance.

Yn nghred ni weled, unoliaeth Gwalchmai,
Wr well.——

In christendom there has not been seen, the *likeness* of Gwalchmai, a better man. *T. Aled, i T. Salesbri.*

**Unoliant**, *s. m.* (unawl) Unition; integration.

**Unolrwydd**, *s. m.* (unawl) Sameness, similarity.

**Unon**, *s. m.* (un—on) Particularity; doubt, question, supposition. *v. a.* To suppose. *Ni raid unon y doi di yma*, there is no need to suppose that thou wilt come here.

Er bod dy ddyben di yn nesu o fewn ychydig ddalenau yn fy llyfr diwomlant i; eto nid rhaid i ti unon soddi at Luciffer.

Notwithstanding that thy end draws near within a few leaves in my unerring volume; yet thou needest not *to fear* of sinking to Lucifer. *Elis Wyn, Bardd Cwsg.*

**Unparth**, *s. m.* (parth) One part. *a.* Of one part.

**Unpeth**, *s. m.* (peth) One thing, same thing. *a.* Of one thing.

**Unplyg**, *s. m.* (plyg) One double or fold. *a.* Of one double or fold.

**Unraith**, *s. f.* (rhaith) Sameness of right or law. *a.* Of equal law, of equal right.

**Unran**, *s. f.* (rhan) One share. *a.* Of one share.

**Unrwydd**, *s. m.* (un) A state of being one.

**Unrwysg**, *s. m.* (rhwysg) Sameness of course or sway. *a.* Of the same sway.

**Unryw**, *s. m.* (rhyw) A same kind, a same sex; same. *a.* Of the same kind.

**Unrywiaeth**, *s. m.* (unryw) A rendering of the same kind; identity.

**Unsain**, *s. f.* (sain) An unison. *a.* Unison.

**Unsawd**, *s. f.* (sawd) A same state. *a.* Of the same state.

**Unseiniad**, *s. m.* (unsain) A forming an unison.

**Unseiniaw**, *v. a.* (unsain) To form an unison.

**Unseiniawg**, *a.* (unsain) Having one sound.

**Unsill**, *s. f.* (un—sill) One syllable. *a.* Of one syllable.

**Unsillawg**, *a.* (unsill) Having one syllable.

**Unsud**, *s. m.* (sud) Same state. *a.* Of one state.

**Unswd**, *s. m.* (swd) Same state. *a.* Of one state, of the same condition. *Unswd ac unswd*, so and so.

**Unswn**, *s. m.* (swn) A same sound. *a.* Of the same sound.

**Unswydd**, *s. m.* (swydd) A same office or business; one purpose. *a.* Of one business or purpose. *Eis yno yn unswydd*, I went there on purpose.

**Unsylwedd**, *s. m.* (sylwedd) Sameness of substance. *a.* Of one substance, or material.

**Unsylweddawg**, *a.* (unsylwedd) Consubstantial.

**Unsylweddawl**, *a.* (unsylwedd) Homogeneal.

**Unsylweddiad**, *s. m.* (unsylwedd) A rendering of the same substance; a becoming homogeneal.

**Untaith**, *s. f.* (taith) One journey. *a.* Of the same journey.

**Unteithiawg**, *a.* (untaith) Having one journey.

**Untref**, *s. f.* (tref) Sameness of habitation. *a.* Of the same habitation or town.

Nid untref gwadd ac eryr.

Not *of one habitation* a mole and an eagle. *Adage.*

**Untri**, *s. m.* (un—tri) Three united in one.

**Untro**, *s. m.* (tro) One turn. *a.* Of one turn.

**Untroed**, *s. m.* (troed) One foot. *a.* One-footed.

**Untroedawg**, *a.* (untroed) Having one foot.

**Untu**, *s. m.* (tu) One side. *a.* One sided.

**Untuawg**, *a.* (untu) One-sided; partial. *Cyfrwy untuawg*, a side-saddle.

Taw, gwyn untuawg annoeth,
A beiaw.

Be silent, thou complainant *partial* and unwise, with finding fault. *H. D. ab Ifan.*

Untuawg fwng ond teg fydd,
Ac yn hardd fal gwawn hirddydd?

The *one-sided* mane is it not fair, and beautiful like the long day's gossamer. *T. Aled, i Farch.*

**Untuawl**, *a.* (untu) Belonging to one side.

**Untuogrwydd**, *s. m.* (untuawg) The state of being on one side; partiality.

**Untuolrwydd**, *s. m.* (untuawl) A one-sided state.

**Unwaith**, *s. f.* (un—gwaith) One time. *a.* Of one time. *adv.* Once, at one time.

A fo drwg unwaith a wyr fod yn ddrwg yr eilwaith.

He that is bad *one time* knows how to be bad a second time. *Adage.*

Unwaith yr aeth yr arlwyddes i nofaw hi a foddes.

*Once* the lady went to swim she was drowned. *Adage.*

**Unwedd**, *s. f.* (un—gwedd) Sameness of appearance, similitude. *a.* Similar; uniform, constant, equable. *adv.* Alike.

Y doeth a'r annoeth unwedd,
O gyrau'r byd gyr i'r bedd.

The wise and the unwise *alike*, from the extremities of the world he sends to the grave. *Ed. Samuel.*

**Unweddawg**, *a.* (unwedd) Having a fellow or partner. *s. c.* A monogamist.

**Unweddawl**, *a.* (unwedd) Uniform; of one aspect.

**Unwr**, *s. m.—pl.* unwyr (gwr) A man who unites agrees, or accords.

**Unwyneb**, *s. m.* (gwyneb) Sameness of face. *a.* Of the same face or surface.

**Unwynebawg**, *a.* (unwyneb) Having one face.

Geill cyssain ragodlig fod weithiau yn unwynebawg; sef, heb wneuthur dim ond terfynu y rhagddarn, mal—

'A'm try amgen o'm trymgwsg.'

A consonant of the leading rhyme may sometimes be *of one aspect*; that is, without performing any thing more than to terminate the former pause, as in the above verse. *Gr. Roberts.*

**Unyd**, *s. m.* (un) The state of being one; continuity; a state of being thoroughly united; alike. *a.* Being united, continual, or uninterrupted; like. *adv.* As one, continually; like.

Cadr fab Grufydd
Gwawr Eiddionydd,
Gweirydd unyd.

The mighty son of Grufydd, the luminary of Eiddionydd, *the same as* Gweirydd. *Rhisierdyn.*

Gwel, ddyn, adeilad byfryd,
O lawr i nen yn unyd.
Daiarfyd dirfawr.

Behold, O man, a pleasant structure rise, from the bottom to the summit all *complete*, the immense terrestrial world. *Elis Wyn, Bardd Cwsg.*

**UR,** *s. m. r.* That is extreme, over, or superior; that is essential, or pure; that is sacred, holy, or inviolable.

**Urael,** *s. m.* (ur) That is of pure element; amianthus, asbestos; also the cloth made of that fossil.

Urael yw llieinwisg o'r manweiddiaf, o'r maen ystinos, ac a olchid a'r tan, wedi y budreddai.

The *Urael* is a cloth garment of the finest texture, made of the asbestos stone, and which used to be cleansed with the fire, after it had been soiled. *Adrodd. Pryd Mab Duw.*

Ar dyrau gwynion, ar dai urael,
Mawr y mae ei—fryd.

On white towers, on houses of *amianthus*, great is his delight. *L. G. Cothi.*

Mab addwyn o rwym urael maith,
Mab Arglwydd yr Israel.

A beatific Son out of a bandage of ample *asbestos*, the Son of the the Lord of Israel. *L. G. Cothi.*

**Urdd,** *s. f.—pl. t.* au (ur) A dignified order, rank, or class; a sacred order.

——Yn gweddiaw
Ar Dduw nef ei urddau naw.

Praying to God of heaven and his *orders* nine. *I. ab Rh. ab Ieuan Llwyd.*

**Urddain,** *a.* (urdd) Abounding with dignity.

I feirdd dwfn dyfydd a gofiain';
I Gynddelw oedd arddelw urddain.

To bards profound will be preserved what they commemorate; to Cynddelw it was his *honourable* claim. *Cynddelw, m. O. Gwynedd.*

**Urddas,** *s. f.—pl. t.* au (urdd) Dignity; a sacred order; church hierarchy, or orders.

Deuparth urddas enw da.

Two parts of *dignity* is a good name. *Adage.*

Yn mhob ennill y mae anrhydedd,
Yn mhob anrhydedd y mae urddas,
Yn mhob urddas y mae braint,
Yn mhob braint y mae dyledswydd.

In every gain there is honour, in every honour there is *respect*, in every *respect* there is privilege, in every privilege there is a duty. *Catwg ab Gwynlliw.*

Urddasoedd——
A wnaeth ef, ei iawnwaith oedd.

*Hierarchies* be created, his righteous work was that. *Dr. S. Cent.*

**Urddasaidd,** *a.* (urddas) Relating to dignified or holy orders; honorary.

**Urddasawg,** *a.* (urddas) Having sacred orders; dignified. *s. m.—pl.* urddasogion, A dignitary.

**Urddasawl,** *a.* (urddas) Relating to dignified rank; relating to sacred orders; dignified; honourable.

**Urddasedig,** *a.* (urddas) Dignified; ordained.

**Urddaseiddiad,** *s. m.* (urddasaidd) A dignification.

**Urddaseiddiaw,** *v. a.* (urddasaidd) To render dignified, or honorary; to become dignified.

**Urddaseiddrwydd,** *s. m.* (urddasaidd) A dignified state.

**Urddasiad,** *s. m.* (urddas) A dignification; a conferring of holy orders.

**Urddasoldeb,** *s. m.* (urddasawl) A dignified state.

Urddasoldeb swydd yw ei chyflawni yn gyfiawn.

The *honourableness* of an office is to fulfil it justly. *Adage.*

**Urddasolder,** *s. m.* (urddasawl) Honourableness.

**Urddasoldra,** *s. m.* (urddasawl) Honourableness.

**Urddasoli,** *v. a.* (urddasawl) To render dignified; to become dignified.

**Urddasolrwydd,** *s. m.* (urddasawl) Honourableness

**Urddasu,** *v. n.* (urddas) To dignify, to honour; to confer orders.

**Urddaswr,** *s. m.—pl.* urddaswyr (urddas—gwr) A dignifier; one who confers orders.

**Urddaw,** *v. a.* (urdd) To confer dignity, rank, or order; to confer holy orders; to ordain.

Dyn a urdd y lle, ac nid urdd y lle y dyn.

A man *honours* the station, and the station *honours* not the man. *Adage.*

Urdd wledig llurig llu aergrain;
Urddws Duw diwyrnawd Owain!

A patriot *dignifies* the arms of a host ranging through slaughter; *God has ordained* the day of Owain! *Cynddelw, m. O. Gwynedd.*

**Urddawd,** *s. m.* (urdd) A dignification; an ordaining.

**Urddawg,** *a.* (urdd) Having dignity or orders.

**Urddawl,** *a.* (urdd) Relating to dignity, rank, or order; dignified; honorable.

Seiniad pob ceiniad canon cerdd eiliad,
Seiliad aur ddeiliad o waed urddolion.

Proclaimed by every songster is the regular composition of song, the subject is the golden branch from the blood of *exalted ones.* *H. Llwyn.*

**Urddawn,** *a.* (urdd) Of dignified or exalted state.

Beirdd wogawn bardd urddawn urddwch,
Urddawl cerdd, can edifeirwch.

Ye energetic bards, do honour to an *honourable* bard, the graduated of song, through repentance. *Cynddelw.*

**Urddedig,** *a.* (urdd) Dignified; being ordained.

Prydai y prydyddion——
Gan rwyf Bangor, gor goron urddedig.

The poets would poetize before the chief of Bangor, the chair of a *dignified* crown. *Iorwerth Beli.*

**Urddedigaeth,** *s. f.—pl. t.* au (urddedig) Ordination.

**Urddedigaw,** *v. a.* (urddedig) To render dignified; to ordinate; to become dignified.

**Urddedigawl,** *a.* (urddedig) Tending to dignify.

**Urddedigrwydd,** *s. m.* (urddedig) A dignified state

**Urddeiniad,** *s. m.* (urddain) Dignification.

**Urddeiniaw,** *v. a.* (urddain) To render dignified.

**Urddeiniawl,** *a.* (urddain) Dignifying; tending to honour.

Mae'r pen ffydd, Dofydd dwyfawl, gyda thi
I'th urddoni eneth urddeiniawl.

The object of the faith, the Divine Regulator, is with thee, to exalt thee, thou *honoured* virgin. *D. Ddu o Hiraddug.*

**Urdden,** *s. f.* (urdd—gen) A superior intelligence or genius; a sacred intelligence. *a.* Of superior genius.

Awdl urdden amgen amgall digawn.

A different song *of superior intellect* amply comprehensive. *Cynddelw.*

Gwanai yn nghynghor eilsor Medrawd
Mal Urien urdden, a'i amgyffrawd.

He that is second to Medrod would distinguish in council, like Urien *of exalted genius*, with his comprehension. *Meilyr.*

Gwyr Powys——
Cad orllawes orllawen,
Pedair cynneddf, cadw cadyr urdden,
Ar ddeg yr dugant o Feigen.

The Men of Powys, in far-extending battle triumphant, fourteen prerogatives, the preservation of mighty *pre-eminence of genius*, they bore from Meigen. *Cynddelw.*

**Urddiad,** *s. m.—pl. t.* au (urdd) A dignifying, a conferring of honour; a giving of degree, rank, or order; an ordaining.

**Urddiain,** *a.* (urdd) Abounding with dignity.

Dywawd Derwyddon——
O wyron Owain,
Ar wyneb Prydain
Un urddiain Llundain,
O lan deithi.

Druids declare, of the descendants of Owain, over the face of Britain one shall be *supreme* of London, of sacred character. *Ll. P. Moch, i L. ab Iorwerth.*

**Urddiannawl**, *a.* (urddiant) Dignifying.
**Urddiannu**, *v. a.* (urddiant) To create dignity.
**Urddiannus**, *a.* (urddiant) Dignifying, honouring.
**Urddiannusaw**, *v. a.* (urddiannus) To render dignified; to become honourable.
**Urddiant**, *s. m.* (urdd) Dignification; ordination.
**Urddiator**, *ger.* (urddiad) In dignifying.
**Urddin**, *a.* (urdd) Being honoured or exalted.

Cyfoethawg Duw urddin.

The powerful God *of exalted state*. *Taliesin.*

**Urddineb**, *s. m.* (urddin) A dignified state.
**Urddoldeb**, *s. m.* (urddawl) A dignified state; the state of being ordained.
**Urddolder**, *s. m.* (urddawl) A dignified state.
**Urddoldra**, *s. m.* (urddawl) A dignified state.
**Urddoledd**, *s. m.* (urddawl) A dignified state.
**Urddoles**, *s. f.—pl. t.* au (urddawl) A female who holds dignity or rank.
**Urddoli**, *v. a.* (urddawl) To render dignified; to ordinate, to ordain.
**Urddoliad**, *s. m.* (urddawl) A dignifying, a conferring of rank, degree, or orders; ordination.
**Urddoliaeth**, *s. m.* (urddawl) Ordination.
**Urddolrwydd**, *s. m.* (urddawl) A dignified state.
**Urddon**, *s. m.* (urdd) The grass-poly.
**Urddoni**, *v. a.* (urddawn) To exalt, to honour.
**Urddoniad**, *s. m.* (urddawn) A yielding dignity.
**Urddoniant**, *s. m.* (urddawn) Exaltation, honour.
**Urddrad**, *s. m.—pl. t.* au (urdd—rhad) An exalting virtue.
**Urddun**, *s. m.* (urdd) An exalted state or rank.
**Urddunaw**, *v. a.* (urddun) To honour, to exalt.
**Urddunawl**, *a.* (urddun) Tending to honour.
**Urdduniad**, *s. m.* (urddun) A dignification.
**Urddunïannu**, *v. a.* (urdduniant) To endow with pre-eminence.
**Urdduniannus**, *a.* (urdduniant) Tending to dignity
**Urdduniant**, *s. m.* (urddun) Pre-eminence, honour
**Urddwisg**, *s. f.—pl. t.* oedd (urdd—gwisg) A robe of state, a dress of order.
**Urddwr**, *s. m.—pl.* urddwyr (urdd—gwr) A man who dignifies; one who confers orders.
**Urddyn**, *s. m.* (urdd) A dignified or exalted one.

Wyr Owain Prydain praff ddychryn galon——
Mab Iorwerth mad ganed urddyn.

The grandson of Owain of Britain, the ample terror of the foes; the son of Iorwerth, happily was the *exalted one* begotten. *Ll. P. Moch.*

**Uriad**, *s. m.—pl. t.* on (ur) That is pre-eminent, an exalted one; an elder.

Dug llawffon Aron uriad
Aeron a dail.——

The hand-stick of Aaron the *elder* bore berries and leaves. *I. ab Hywel Swrdwal.*

**US**, *s. m. r.—pl. t.* ion. What is a peel, or connected coating; also the husks of corn, or chaff. *a.* Outside; illusive; trifling, light, frail. It is a general termination of words of quality or adjectives; as *gweddus*, covered with decency, of a decent appearance, or seemly.

Adwaen hen farch us.

An old horse knows *chaff*. *Adage.*

Yr enaid, gochel rinwedd
Y corff us o'i felus fedd.

My soul, avoid the nature of the *frail* body and its honeyed enjoyment. *D. ab Dafydd Llwyd.*

**Usaidd**, *a.* (us) Like husk, or chaff; husky.
**Usawg**, *a.* (us) Abounding with husks or chaff.
**Usion**, *s. pl. aggr.* (us) Chaff, husks of corn.
**Usiongrug**, *s. m.* (usion—crug) A chaff heap.
**Usioni**, *v. a.* (usion) To yield husks or chaff.
**Uslyd**, *a.* (us) Abounding with chaff, full of chaff.
**Uslydrwydd**, *s. m.* (uslyd) Fulness of chaff.
**Ust**, *s. m.* (us) A silence; a hush, or hist. It is also the imperative verb: Hush!

Y taranau——
Duw a bair: ar ei air ant
Ust ewybr a dystawant.

Thunder-claps God doth cause; at his word they become a sudden *silence* and are stilled. *D. Iepawr.*

**Ustiad**, *s. m.* (ust) A silencing, a hushing.
**Ustiaw**, *v. a.* (ust) To silence, to quell, to hush.
**Uswydd**, *a.* (us—gwydd) Of peeled surface.

Lliwgoch ei lafnawr, aesawr uswydd.

Red-stained his blade, shield *of tattered front*. *Llygad Gwr.*

Gwr eurgiawr aesawr uswydd holli.

A hero splitting the gold-covered shield *of tattered front*. *H. Foel ab Griffri.*

**Usyn**, *s. m. dim.* (us) A single particle or chaff.

Usyn wyf, ac eisiaw nerth,
Ac angeu yn ogyngerth!

A *frail chaff* am I and wanting strength, with death in suspense! *D. ab Gwilym.*

**Utgorn**, *s. m.—pl.* utgyrn (udgorn) A trumpet.
**UTH**, *s. m. r.* That is extreme; extended.
**Uthr**, *s. m.* (uth) That stunneth. *a.* Awful, wonderful; astonishing; terrific; horrible.

Y cythraul acw uthr-was.

The fiend yonder a *horrid* spright. *W. Lleyn.*

**Uthraidd**, *a.* (uthr) Tending to astonish.
**Uthraw**, *v. a.* (uthr) To astonish, to amaze.
**Uthrawl**, *a.* (uthr) Astonishing, amazing.
**Uthredig**, *a.* (uthr) Astonished, terrified.
**Uthredd**, *s. m.* (uthr) Astonishment; horror.
**Uthriad**, *s. m.* (uthr) An astonishing.
**Uthroldeb**, *s. m.* (uthrawl) Astonishment; awfulness; horribleness.
**Uthrolder**, *s. m.* (uthrawl) Astonishment; awfulness; horribleness.
**Uthroledd**, *s. m.* (uthrawl) Astonishingness; awfulness; horribleness.
**Uthroli**, *v. a.* (uthrawl) To render astonishing; to render awful; to render terrified; to become awful; to become terrified.
**Uthrolrwydd**, *s. m.* (uthrawl) Awfulness.
**Uwch**, *prep.* (uch) Above, over; also used for *uchach*, higher, upper.

Uwch pen no dwy ysgwydd.

*Higher* a head than two shoulders. *Adage.*

**Uwchder**, *s. m.* (uwch) Highness, altitude.
**Uwchdra**, *s. m.* (uwch) Highness, altitude.
**Uwchedd**, *s. m.* (uwch) Highness, altitude.
**Uwchel**, *a.* (uwch) High, lofty; eminent.
**Uwd**, *s. m.* (wd) Any liquid thickened by boiling meal in it; hasty-pudding; bargoo; pap; or the like mixtures. *Uwd peilliad*, flour boiled in milk; *uwd maidd glas*, grits boiled in whey; *uwd sugaethan*, a poultice.

A fo aml ei fel rhoed ar ei uwd.

He who has abundance of honey let him put it in his *pudding*. *Adage.*

**Uwdaidd**, *a.* (uwd) Like hasty-pudding.
**Uwdfys**, *s. m.* (uwd—bys) The nursing finger, the fore-finger.

